**Bydd pleidlais dros Blaid Cymru yn yr Etholiad Cyffredinol ar 12 Rhagfyr yn bleidlais i Gymru aros yn yr Undeb Ewropeaidd ac adeiladu dyfodol ffyniannus.**





Bydd pleidlais dros Blaid Cymru yn yr Etholiad Cyffredinol ar 12 Rhagfyr yn bleidlais i Gymru aros yn yr Undeb Ewropeaidd ac adeiladu dyfodol ffyniannus.

Nid yw San Steffan yn gweithio i Gymru. Fel prif blaid Aros Cymru, mae Plaid Cymru yn unedig yn ei nod i sicrhau bod Cymru yn aros yn aelod o'r Undeb Ewropeaidd. Yr ydym yn ymgyrchu i roi'r penderfyniad yn ôl i'r bobl mewn refferendwm.




Fydd dim ffurf ar Brexit yn dda i Gymru. Byddai'n difetha bywoliaeth miloedd o'n pobl. Byddai cynllun y Toriaid i ddod â Chymru allan o'r Farchnad Sengl a'r Undeb Tollau yn taro economi Cymru yn galed. Mae rhagolygon y Llywodraeth ei hun yn awgrymu y bydd yn arwain at **arafu mewn twf o -5.5% o leiaf erbyn 2030.**

Yn yr etholiad hwn mae Plaid Cymru yn ymgyrchu dros bolisïau fydd yn gwella yn uniongyrchol fywydau teuluoedd Cymru, yn mynd i'r afael a'r argyfwng hinsawdd a bioamrywiaeth, yn hybu ein heconomi, ysgolion a'r gwasanaeth iechyd, yn darparu gofal personol am ddim i bobl hŷn, ac yn codi 50,000 o blant Cymru allan o dlodi.

Bydd yr holl gynlluniau hyn yn fwy anodd o lawer i'w gweithredu os caiff Cymru ei llusgo allan o'r UE gan lywodraeth San Steffan galed o'r aden dde.

Tra bod gwleidyddion San Steffan wedi eu cloi mewn clymau dros Brexit, mae Cymru'n cael ei gadael ar ôl. Mae'n bryd cael newid yng Nghymru. Mae'n bryd pleidleisio dros Blaid Cymru.



# Ni yw'r dyfodol.
Ein Pum Blaenoriaeth Allweddol i Gymru:

## 01

### Chwyldro Swyddi Gwyrdd i Gymru

Creu degau o filoedd o swyddi newydd ledled Cymru trwy roi sbardun i raglen fuddsoddi gwerth biliynau o bunnoedd mewn ynni adnewyddol, seilwaith trafnidiaeth a thechnoleg ddigidol, gyda'r nod o wneud Cymru yn genedl rydd o garbon a phlastig untro erbyn 2030.

## 02

### Gofalu am Bawb

Gofal cymdeithasol am ddim i'r henoed a dinasyddion bregus eraill trwy Wasanaeth Iechyd a Gofal cenedlaethol newydd, gyda 1,000 yn ychwanegol o feddygon newydd, 5,000 o nyrsys newydd a 100 o ddeintyddion newydd i'r GIG fydd yn cynnig mynediad diwnïad at iechyd a gofal i bawb ym mhob cwr o Gymru.







03

## Chwarae Teg i Deuluoedd

Gofal plant cyffredinol am ddim am 40 awr yr wythnos, a thaliad newydd o £35 yr wythnos i bob plentyn mewn teulu incwm isel, fydd yn codi 50,000 o blant yng Nghymru allan o dlodi. Hefyd, £300m yn ychwanegol i ysgolion a cholegau i roi'r cychwyn gorau i'n plant mewn bywyd.

04

## Gweithredu ar Dai

Buddsoddiad o bwys mewn cartrefi fforddiadwy sy'n amgylcheddol gynaliadwy, a rhyddhad rhent i bobl sy'n talu mwy na 30% o'u hincwm ar rent.

05

## Ymladd Troseddau

Creu system gyfiawnder i Gymru, datganoli plismona a chreu cronfa atal troseddau newydd i recriwtio 1,600 o heddweision ychwanegol, o leiaf ddau ar gyfer pob cymuned yng Nghymru, i'n cadw'n ddiogel.





Wrth alw'r trydydd etholiad mewn pedair blynedd, mae pleidiau San Steffan yn cynnig cwpan o wenwyn rhwng dwy blaid ranedig. Mae un dan arweiniad gŵr sy'n benderfynol anonest ynghylch Brexit, a'r llall yn cael ei harwain gan rywun sydd, a bod yn hollol onest, yn ddi-glem. A chynghorir y naill a'r llall gan gyn-ddisgyblion ysgolion bonedd sy'n gweld gwleidyddiaeth fel rhyw fath o gêm.

Felly yn hytrach na bod amdanynt hwy, beth am wneud yr etholiad hwn amdanom ni, ein huchelgais dros Gymru. Gallwn dorri patrwm canrif o etholiadau lle mae Cymru wedi rhoi cefnogaeth lethol i bleidiau San Steffan.

Wedi'r cyfan, beth gawsom ni o'r buddsoddiad hwnnw? Rydym ar ben anghywir pob tabl cynghrair. Rydym ar ddiwedd ciw hir am fuddsoddiad gan y Llywodraeth. Mae gennym setliad cyllido gwaeth a llai o'r mecanweithiau economaidd dros dreth a benthyca a roddwyd i'r Alban neu Ogledd Iwerddon. Yn wir, petai gan Gymru yr un lefel o gyllido â'r Alban buasem yn derbyn £1.5 biliwn yn ychwanegol y flwyddyn.

Edrychwch ar y ffordd mae'r Alban, ei hanghenion a'i blaenoriaethau wedi saethu i frig yr agenda gwleidyddol oherwydd grym ac amlygrwydd yr SNP. Dyma andros o wers i ni yma yng Nghymru. Os pleidleisiwn dros Blaid Cymru, yna bydd ein gwlad, ei phroblemau, a'i hanghenion yn cael eu trin gyda'r parch a haeddant.

Mae cymaint yng Nghymru sydd angen ei wella. Mae tlodi plant yn codi, disgwyliad einioes yn cwympo, ein seilwaith trafnidiaeth yn methu, digartrefedd ar lefel argyfwng.

Gallwn ddatrys y problemau hyn, ond nid trwy bleidleisio i Lafur sydd mewn Llywodraeth ym Mae Caerdydd ac sydd wedi ein methu ers dwy ddegawd. Ac yn sicr nid trwy bleidleisio dros y Ceidwadwyr, sydd mewn grym yn San Steffan ac sydd wedi ein methu trwy ddegawd o lymder.





Gallwn ddatrys y broblem trwy bleidleisio drosom ein hunain, trwy anfon mwy o ASau Plaid Cymru i San Steffan nac erioed yn ein hanes.

Byddant yn brwydro dros refferendwm llais terfynol fel y gallwn osgoi cytundeb Brexit gwael. Boed yn Brexit Toriaidd neu Brexit Llafur, byddai'r naill a'r llall yn dinistrio ein dyfodol economaidd.

Mae gan ein ASau enw da am wneud mwy o argraff nac y mae eu niferoedd yn awgrymu. Maent wedi sefyll yn ddiflino yn erbyn sefydliad San Steffan - ac wedi rhoi Cymru'n gyntaf.

Am mai dyna mae Plaid Cymru yn wneud o hyd. Ein gwlad, ein cymunedau, a buddiannau ein cenedl sydd wastad yn brif flaenoriaeth i ni. Gyda Johnson a Corbyn, y cyfan gawn ni yw mwy o lanast San Steffan. Mae Plaid Cymru yn ymgyrchu i roi diwedd ar Brexit unwaith ac am byth trwy Bleidlais y Bobl.

Er gwaetha'r holl sŵn a'r crochlefain ddaw o'r ymgyrch hon, credaf mai dyma'r etholiad ble bydd Cymru yn darganfod ei llais fel cenedl.

Rydym yn dweud: Ni yw Cymru!

Ond rydym hefyd yn dweud: Ni yw Ewrop!

Fe ddaeth yr awr.

“Er gwaetha’r holl sŵn a’r crochlefain ddaw o’r ymgyrch hon, credaf mai dyma’r etholiad ble bydd Cymru yn darganfod ei llais fel cenedl.”



# Refferendwm Dewis Terfynol

Bu Plaid Cymru yn ymgyrchu ers amser dros Bleidlais y Bobl i roi terfyn ar anhrefn Brexit, i ddiogelu lle Cymru yn Ewrop, a'r miloedd o swyddi sy'n dibynnu ar ein haelodaeth o'r UE.

Gwastraffodd y Torïaid dair blynedd ar eu prosiect Brexit ffaeledig, ac maent wedi gwrthod dro ar ôl tro â rhoi dewis terfynol i'r bobl.

## Bargen y Torïaid

Mae Plaid Cymru yn gryf yn erbyn bargen Brexit drychinebus Boris Johnson. Mae'n ein rhoi ar lwybr allan o'r Farchnad Sengl a'r Undeb Tollau. Mae rhagolygon y Llywodraeth ei hun, a wnaed ym mis Ionawr 2018, yn awgrymu y byddai'n **arwain at arafu twf yn y DG o -5.5% wedi 15 mlynedd y tu allan i'r Undeb Ewropeaidd.** I Gymru, byddai hyn yn debyg o fod yn waeth oherwydd bod ein heconomi yn dibynnu'n drwm ar allforion i'r UE.

**Brexit dall** yw hyn, nad yw'n rhoi unrhyw sicrwydd am yr hyn fydd yn digwydd wedi'r cyfnod trosiannol, fydd yn cael ei drafod o safle wan eithriadol.

Nid yw'n gwarantu hawliau gweithwyr na safonau amgylcheddol – gyda sicrwydd yn y Datganiad Gwleidyddol nad yw'n rhwymo neb, yn hytrach na'r Cytundeb Ymadael fyddai wedi rhwymo'n gyfreithiol. **Allwn ni ddim rhoi ein hawliau yn nwylo Boris Johnson.**

Mae'n rhoi **ffin galed ym Môr Iwerddon**, gan greu anhrefn yng Nghaergybi ac Aberdaugleddau. Mae ein porthladdoedd gorllewinol o bwysigrwydd strategol mawr i'n cenedl – fe wnaiff Plaid Cymru bopeth yn ei gallu i'w hamddiffyn.

Mae'n **gwadu llais i'n Senedd.** Er iddi bleidleisio'n gyson o blaid aros yn y Farchnad Sengl a'r Undeb Tollau, a chefnogi Pleidlais y Bobl, anwybyddwyd ein senedd dro ar ôl tro.

## Parhad o Anhrefn Brexit

Mewn gwirionedd, mae cytundeb y Torïaid yn **ddim cytundeb trwy ffordd arall.** Mae'n golygu y byddwn yn sownd yn trafod Brexit am y deuddeng mis nesaf. Byddwn wedyn yn wynebu **Brexit arall heb gytundeb ar ymyl y dibyn yn Rhagfyr 2020** os na fydd cytundeb masnach rydd wedi digwydd, gyda'r holl niwed economaidd y gwyddom y byddai hynny'n achosi i Gymru.



Byddai gadael heb gytundeb, gyda thariffau'n cael eu gosod ar ein hallforion cig oen, yn cael effaith ddifrifol ar amaethyddiaeth Cymru. Byddai hefyd yn codi'r perygl o brinder cyflenwadau hanfodol o feddyginiaethau a bwyd ffres. Mae'n bosib o hyd ein bod yn wynebu trychineb Brexit caled, a diogelu lles pobl Cymru yw prif flaenoriaeth Plaid Cymru.

Nid yn unig y byddai gadael heb gytundeb yn difrodi'r bunt, byddai'n rhoi diwedd ar amaethyddiaeth Cymru ac yn amddifadu miliynau o bobl o feddyginiaethau a bwyd ffres hanfodol. Mae trychineb Brexit caled yn dal yn bosibilrwydd, a diogelu lles pobl Cymru yw prif flaenoriaeth Plaid Cymru.

- Gallai Brexit arwain at ostyngiad difrifol yn nhwf economi Cymru. Bydd aros yn yr UE yn rhoi i'r economi y sicrwydd na fu yno ers tair blynedd.
- Byddai Brexit yn arwain at dariffau enfawr ar fewnforion - mor uchel â 84% ar gig eidion a 48% ar gig oen. Byddai aros yn yr UE yn caniatáu i ffermwyr gadw eu marchnadoedd presennol heb darfu.
- Bydd Brexit yn arwain at ansicrwydd enfawr i'r miloedd o ddinasyddion yr UE yn ein cymunedau yng Nghymru, ac i'r rhai hynny o Gymru sy'n byw yng ngweddill Ewrop. Mae aros yn yr UE yn golygu cydraddoldeb – croesawu dinasyddion yr UE i Gymru a rhoi cyfle i'n pobl ifanc fyw, gweithio ac astudio ar draws yr UE.

Mae'r Torïaid wedi gwastraffu tair blynedd yn mynd ar ôl cytundebau niweidiol sy'n dangos eu dirmyg llwyr tuag at Gymru. Mae'n bryd rhoi diwedd ar eu llanast - trwy atal Brexit.



## Record Plaid Cymru

Yn dilyn refferendwm 2016, gweithiodd Plaid Cymru'n galed i ddeall effeithiau posib Brexit ac aeth ati i weithio gyda Llywodraeth Cymru i gynhyrchu polisi cyffredin gyda'r nod o liniaru effeithiau gwaethaf gadael yr UE.

Yr oedd ein gwaith yn cydnabod y canlynol:

- Mae dwy ran o dair o allforion Cymru yn mynd i wledydd yr UE.
- Mae ein llwyddiant i ddenu buddsoddiad o dramor yn dibynnu i raddau helaeth ar fynediad at farchnad sengl yr UE o fwy na 500 miliwn o gwsmeriaid.
- Mae 200,000 o swyddi yng Nghymru yn dibynnu ar fasnachu dilestair gydag Ewrop.



Felly, galwodd Plaid Cymru am:

- Aelodaeth lawn o Farchnad Sengl yr UE am nwyddau, gwasanaethau a chyfalaf – gan gynnwys ein cynhyrchion amaethyddol a bwyd allweddol.
- Cymru i aros yn yr Undeb Tollau fel bod modd masnachu nwyddau yn rhydd gyda thros 80 o wledydd ledled y byd.

**Fel cynrychiolydd Plaid Cymru ar Bwyllgor Dethol Brexit yn Nhŷ'r Cyffredin, mae Hywel Williams wedi gweithio'n ddiflino i graffu ar y modd trychinebus y mae Llywodraeth Prydain wedi trin y broses drafod. Mae wedi sicrhau y bu buddiannau Cymru ar flaen meddyliau aelodau'r Pwyllgor, yn enwedig pryderon am ddiwydiannau ac amaeth Cymru, yn ogystal â'r effaith ar borthladdoedd Cymru fyddai'n deillio o adael yr Undeb Tollau a'r Farchnad Sengl.**

Mae Marchnad Sengl ac Undeb Tollau'r UE yn hanfodol i'n cyflogwyr gartref ac i ddenu mewnfuddsoddiad a chreu swyddi, a dyma fuasai'r lleiafswm fyddai ei angen i amddiffyn buddiannau economaidd Cymru. Dyna pam y gwnaethom bleidleisio drostynt pan ddaeth y cyfle yn San Steffan. Ar yr un pryd, fe wnaethom ni ym Mhlaid Cymru ddweud y buasai hyn dal yn waeth nac aros yn yr UE. Er y byddai modd i ni drafod sefyllfa lle gallai Cymru aros yn y Farchnad Sengl a'r Undeb Tollau, byddai bod y tu allan i'r UE yn golygu na fyddai gennym lais dros benderfyniadau yn y dyfodol am y ffordd y buasent yn datblygu.

Yn wir, ers y refferendwm, dioddefodd diwydiannau a swyddi o ganlyniad i Brexit a'r hinsawdd ansicr fel y mae. Bydd aros yn yr UE yn ein galluogi i ddiogelu swyddi a bydd gallu mynd yn hawdd at Ewrop yn annog cwmnïau tramor pwysig i fuddsoddi yng Nghymru.







## Cytundebau Masnach

Yr oedd y syniad y buasai creu cytundebau masnach newydd unwaith i ni fod allan o'r UE yn hawdd yn un arall o'r addewidion afrealistig a wnaed yn ystod y refferendwm. Rhybuddiodd Plaid Cymru o'r dechrau'n deg y byddai'n amhosib i Lywodraeth Prydain drosglwyddo'r 40 a mwy o gytundebau masnach y mae'n elwa arnynt ar hyn o bryd trwy ei haelodaeth o'r UE. Hyd yma, 18 cytundeb yn unig a wnaeth y DG, sef cyfran fechan iawn o gyfanswm masnach y DG.

Fel gwladwriaeth gyda phoblogaeth o 67 miliwn, ni fydd Prydain mewn sefyllfa i arwain mewn trafodaethau gydag UDA, a'i phoblogaeth o 328 miliwn. Byddai cytundeb masnach gydag UDA, o gael blaenoriaeth dros yr UE, o raid yn golygu y byddai'n rhaid i'r DG ddilyn rhai o reoliadau UDA.

Bydd Plaid Cymru yn gweithio'n galed i sicrhau y bydd unrhyw bolisi masnach yn y dyfodol yn cynnal camau gwarchod cymdeithasol, iechyd ac amgylcheddol. Wnawn ni fyth gefnogi cytundebau fydd yn gwanhau'r safonau a'r rheolau ar ddiogelwch bwyd a meddyginiaethau.

**Tra bod AS y Blaid dros Ddwyrain Caerfyrddin a Dinefwr Jonathan Edwards wedi tynnu sylw at fater pwysig tariffau amaethyddol os na cheir cytundeb, yr oedd Llywodraeth Prydain wedi awgrymu cymerai agwedd ddi-hid pe na cheid cytundeb, gan ddileu camau diogelu hanfodol.**

Fe wnawn frwydro bob cyfle a gawn i wrthwynebu unrhyw ymgais i agor y GIG i breifateiddio mewn cytundebau masnach yn y dyfodol.

Mae gan Gymru well dyfodol yn yr UE gyda'i safonau rheoleiddio uchel, a'i phoblogaeth o dros 500 miliwn o bobl.

Bydd Plaid Cymru yn sicrhau yr ymgynghorir â holl seneddau cenedlaethol y DG trwy gydol y trafodaethau ar gytundebau masnach yn y dyfodol, a bod y broses gadarnhau yn cynnwys cadarnhad gan y Senedd, Senedd yr Alban a Chynulliad Gogledd Iwerddon.





## Amaethyddiaeth

Mae gan Brexit oblygiadau difrifol i ffermwyr Cymru. Yng Nghymru, daw mwy na hanner incwm ffermwr o daliadau uniongyrchol a dderbynnir trwy Bolisi Amaethyddol Cyffredin yr UE.

Os byddwn yn gadael yr UE, mae Llywodraeth Lafur Cymru yn bwriadu dilyn Llywodraeth Geidwadol y DG trwy ddirwyn taliadau uniongyrchol i ffermwyr i ben a sefydlu system newydd amgylcheddol o reoli tir. Yn y cyfamser, bydd ffermwyr yn yr Alban, Gogledd Iwerddon a gweddill 27 yr UE yn cadw taliadau uniongyrchol, gan greu maes chwarae anwastad i ffermwyr Cymru gan danseilio hyfywedd ei busnesau.

**Gwnaeth Ben Lake o Geredigion achos cryf i'r Adran Amgylchedd, Bwyd a Materion Gwledig y dylai pob gwlad yn y DG gael llais cyfartal ynghylch cyfanswm yr arian a neilltuir i ffermio.**

Yn y cyfamser, petaem yn gadael yr UE heb gytundeb, gallai ffermwyr wynebu tariffau serth ar werthu eu cigoedd yn eu prif farchnad - gweddill yr UE. Mae'n hanfodol ein bod yn amddiffyn y fferm deuluol Gymreig trwy aros yn yr UE - fydd yn hanfodol i'n cymunedau gwledig, yr economi a'n diwylliant.





## Gweithgynhyrchu



Mae ansicrwydd am Brexit eisoes yn cael effaith ar weithgynhyrchu. Cyhoeddwyd y bydd 1,700 o swyddi yn cael eu colli yn Ford ym Mhen-y-bont, 220 arall yn Schaeffler a 95 yng ngwaith cydrannau ceir Calsonic Kansei yn Llanelli.

Cafwyd dirywiad difrifol hefyd mewn mewnfuddsoddi ers refferendwm 2016, gyda Chymru ar waelod tabl y gynghrair. 16.5% oedd y gostyngiad cyfartalog mewn prosiectau newydd oedd yn dod i mewn ledled y DG, ond i Gymru roedd yn 46%. Mae Nissan yn rhoi'r gorau i'w cynlluniau i adeiladu un o'u ceir blaenllaw yn Sunderland. Mae'r cwmnïau electronig mawr Sony a Panasonic yn symud eu pencadlysoedd o Lundain i Amsterdam ac y mae Honda yn cau ffatri yn Swindon, fydd yn effeithio ar hyd at ddwsin o gyflenwyr mawr yn y diwydiant ceir yng Nghymru. Yn y cyfamser, mae Airbus, sydd yn cyflogi 6,000 o bobl ym Mrychdyn yng ngogledd-ddwyrain Cymru a 500 arall yng Nghasnewydd, wedi cyhoeddi y bydd Brexit yn fygythiad i benderfyniadau am fuddsoddi a gobeithion am swyddi yn y dyfodol.

## Hawliau Dinasyddion



Nid problem economaidd yn unig yw Brexit – mae'n rhwygo hawliau ymaith oddi wrth filiynau o bobl. Mae miloedd o bobl o bob cwr o Ewrop wedi anrhydeddu ein gwlad trwy ddewis byw gyda ni, i gyfrannu i'n cymdeithas, i ddod yn Gymry.

Cawsant addewid o'r cychwyn na fyddai eu hamgylchiadau yn newid o ganlyniad i Brexit. Fodd bynnag, mae "Cynllun Ymsefydlu'r UE" y Toriaid yn trin pobl fel dinasyddion eilradd, gan orfodi miliynau o bobl ledled y DG i wneud cais i aros yn eu cartrefi eu hunain. Golyga safbwynt Llywodraeth Prydain na fydd gan unrhyw un nad yw'n gwneud cais erbyn y terfyn amser (31 Rhagfyr 2020 os na cheir cytundeb, neu 30 Mehefin 2021 os ceir cytundeb) yr hawl i aros yn y DG a gallant wynebu cael eu hanfon o'r wlad.

**Mae Plaid Cymru wedi arwain yr ymgyrch yn San Steffan a Brwsel ar hawl pobl Cymru i gadw eu statws fel Ewropeaid Cymreig, i sicrhau parhad dinasyddiaeth Ewropeaidd wedi Brexit.**

**Yn 2018, cefnogodd Tŷ'r Cyffredin gynnig gan Blaid Cymru i ganiatáu parhad dinasyddiaeth Ewropeaidd wedi i adael yr UE, galwad a gefnogwyd hefyd gan fudiadau megis Open Britain, Best for Britain a phapur newydd y New European. Sicrhaodd ein ASE Jill Evans hefyd gefnogaeth eang yn Senedd Ewrop i'r cynnig.**



Byddai Plaid Cymru yn newid y system o wneud cais am Statws Sefydledig yn system gofrestru, gan sicrhau y dylai pob dinesydd o'r UE sy'n trigo yn y DG cyn y dyddiad gadael fod â'r hawl i fyw yma yn barhaol, ac y bydd gan bawb sydd â hawl i statws sefydledig yr un hawliau.



## System Fewnfudo Gymreig

Mae mewnfudwyr yn gwneud cyfraniad gwerthfawr a phwysig i fywyd Cymru, yn economaidd a diwylliannol. Mae mewnfudo yn bwysig i lawer o'n sectorau allweddol. Er enghraifft, mae mewnfudwyr yn gwneud cyfraniad pwysig i'n GIG. Hyfforddwyd 30% o'n meddygon dramor, gyda 6% yn cael eu hyfforddi yng ngwledydd yr UE. Aros yn yr UE yw'r ffordd orau o amddiffyn hawliau dinasyddion yr UE i weithio yma.

Mae'r Llywodraeth San Steffan hon yn cynnig polisïau mewnfudo afresymol na all weithio fydd yn difrodi economi Cymru. Yn hytrach, mae arnom angen polisi mewnfudo rhesymol sy'n gweithio i Gymru, lle gall myfyrwyr a'r sawl sy'n creu swyddi ddod, ond nad yw cyflogau'n cael eu tanseilio.

Mewn llywodraeth, bydd Plaid Cymru yn creu Gwasanaeth Ymgynghori Cymreig ar Fudo fel y gallwn gael system sydd yn cau bylchau sgiliau, yn enwedig mewn amaethyddiaeth a gofal cymdeithasol, ac sy'n amddiffyn ein gwasanaeth iechyd rhag prinder staff.

Bydd Plaid Cymru hefyd am ddatganoli polisi mudo, fel y gall Cymru osod ei chwota mudo ei hun yn ôl ein hanghenion ein hunain, gyda mwy o hyblygrwydd, er enghraifft, wrth brosesu fisas i entrepreneuriaid.

Lle mae prinder sgiliau, dylem fod yn mynd ati i recriwtio ar draws yr UE. Hefyd, rhaid cymryd myfyrwyr rhyngwladol allan o dargedau mudo net.

Bydd aros yn yr UE yn galluogi ein myfyrwyr a'n hymchwilwyr i astudio yn unrhyw le yn Ewrop, ac y mae hyn er budd i Gymru a'r DG gyfan.

Mae'n hanfodol fod yr holl fudwyr yn cael eu trin gydag urddas a pharch i'w hawliau dynol. Rydym eisiau gwarchod hawliau gweithwyr mudol a gwrthweithio pob ffurf ar gam-fanteisio ar lafur a llafur gorfodol.

Mae Plaid Cymru yn gyson wedi galw am warchodaeth gyfreithiol i hawliau holl ddinasyddion yr UE yn y DG a dinasyddion yr DG yn yr UE.



Fel gwledydd eraill yr UE, rhaid i ni ysgwyddo ein cyfrifoldebau a rhoi cymorth a chefnogaeth i'r rhai sy'n ffoi rhag rhyfel ac erledigaeth. Rhaid i ni gymryd agwedd fwy dyngarol a dangos mwy o gydsafiad gyda ffoaduriaid, gan gynnwys y rhai sy'n croesi Môr y Canoldir dan amgylchiadau enbyd. Byddwn yn arwain yr alwad am bolisi mudo i'r UE ar sail cydsafiad, sy'n golygu symud tuag at system fudo seiliedig ar ddyraniad teg o geiswyr lloches ar draws yr holl Aelod-Wladwriaethau.

Yng Nghymru, mae Plaid Cymru eisiau i Gymru fod yn genedl lloches i ffoaduriaid sy'n dianc rhag rhyfel a gormes a bydd yn helpu ffoaduriaid a cheiswyr lloches i gymhathu i gymdeithas Cymru.

**Mae'r dystiolaeth yn glir - byddai Brexit yn hynod niweidiol i gymunedau Cymru. Dyna pam ein bod yn ymgyrchu dros refferendwm Dewis Terfynol lle bydd Plaid Cymru yn ymgyrchu dros Aros.**

“Aelodau Seneddol Plaid Cymru sy’n atgoffa San Steffan bod Cymru’n bodoli.”

# CHWYLDRO SWYDDI GWYRDD I GYMRU

Yr ydym yn deall mai newid hinsawdd, ynghyd â chwymp bioamrywiaeth ledled y byd, yw'r her sy'n diffinio ein hamseroedd. Mae'r argyfwng hinsawdd, dinistrio natur a gor-ddefnyddio adnoddau naturiol yn bygwth sylfeini lles y ddynoliaeth. Gyda bioamrywiaeth yn dirywio, aer llygredig ac argyfwng hinsawdd sy'n cyflymu, nawr yw'r amser i weithredu.

Mae gan Gymru yr adnoddau naturiol i arwain y byd mewn technoleg adnewyddol ac ymdrin â'r her fwyaf i'r byd yn ein hamser. Os ydym o ddifrif am fynd i'r afael â newid hinsawdd, mae angen i ni ddechrau buddsoddi yn yr economi werdd ac adeiladu'r gweithlu sydd ei angen i'w wneud yn llwyddiant trwy fuddsoddi yn ein pobl.

Dyna pam y bydd Plaid Cymru yn gweithredu Chwyldro Swyddi Gwyrdd a fydd yn sicrhau bod Cymru yn trosi i ddod 100% yn hunangynhaliol, mewn ynni adnewyddol erbyn 2030. Bydd ein Chwyldro Adnewyddol yn creu degau o filoedd o swyddi sgiliau uchel yng Nghymru dros y deng mlynedd nesaf.

**Mae Jonathan Edwards o Ddwyrain Caerfyrddin a  Ben Lake o Geredigion wedi ymgyrchu'n ddiflino gydag ymgyrch Traws Link Cymru i greu coridor rheilffordd cenedlaethol gan gychwyn gyda Chaerfyrddin i Aberystwyth.**

**O ganlyniad i'r fargen ar y Gyllideb rhwng Plaid Cymru a Llywodraeth Lafur Cymru, comisiynwyd Mott MacDonald i gynnal astudiaeth dichonoldeb ar y prosiect. Gweithiodd allan, petai'r lein yn rhedeg erbyn 2024, y byddai'n cynhyrchu 370,000 taith. Byddai hynny'n codi i 425,000 erbyn 2027 a 489,000 erbyn 2037.**



# Chwyldro Swyddi Gwyrdd i Gymru

Rydym yn mynnu bod Llywodraeth y DG yn neilltuo 1 y cant yn ychwanegol o GDP y flwyddyn i fuddsoddi mewn ynni adnewyddol dros y deng mlynedd nesaf. Yng Nghymru byddai hyn yn caniatáu i ni fuddsoddi £15biliwn yn ychwanegol trwy Chwyldro Swyddi Gwyrdd Cymreig i symud yr economi ymaith o Lundain. Hefyd, byddwn yn pwyso ar y Trysorlys i ganiatáu i Lywodraeth Cymru fenthyca ar eu cyfrif hyd at £5biliwn ar gyfer buddsoddi cyfalaf.

Yng Nghymru bydd hyn yn caniatáu i ni fuddsoddi cyfanswm o £20 biliwn yn ein chwyldro swyddi gwyrdd. Bydd y symiau hyn yn gadael i ni greu degau o filoedd o sgiliau coler werdd gyda swyddi uchel, gan ganiatáu i Gymru arwain y ffordd yn y frwydr i fynd i'r afael â'r argyfwng hinsawdd.

## Cronfa Cymru i'r Dyfodol

Bydd y gallu buddsoddi hwn yn caniatáu i ni sefydlu Cronfa Ail-lunio Genedlaethol i ail-adeiladu Cymru. Byddai llywodraeth Plaid Cymru yn 2021 yn cychwyn ar y rhaglen fwyaf o ail-lunio a welodd ein cenedl ers datganoli. Mae gennym gynllun cynhwysfawr o fuddsoddi'n genedlaethol mewn seilwaith gwyrdd gyda'r bwriad o wrthdroi degawdau o ddirywiad.

Fe gymer y dasg enfawr hon genhedlaeth, ond rhaid i ni gychwyn yn awr er mwyn sicrhau ein bod yn gadael amgylchedd diogel i'n plant.





# Chwyldro Swyddi Gwyrdd i Gymru

Gallai prosiectau gynnwys:

## Seilwaith Trafnidiaeth Gwyrdd

- Creu Cwmni Seilwaith Band Eang Cymreig i warantu mynediad llawn at fand eang ffeibr-cyflawn i bob cartref a busnes yng Nghymru erbyn 2025.
- Trydaneiddio'r holl brif reilffyrdd erbyn 2030. Byddwn yn cwblhau'r bwriad i drydaneiddio Rheilffordd Cymoedd De Cymru. Y lein nesaf i'w thrydaneiddio ddylai fod Rheilffordd Arfordir Gogledd Cymru .
- Adeiladu uwch-Fetro i dde-ddwyrain Cymru gyda rheilffyrdd a gorsafoedd newydd fel canolfannau datblygu.
- Adeiladu Metro newydd Bae Abertawe a Chymoedd y Gorllewin, ac ail-agor gwasanaethau rheilffordd i Gymoedd Amman, Tawe, Nedd a Dulais.
- Datblygu metro i ogledd-ddwyrain Cymru ac adleoli Depo Trafnidiaeth Cymru o Gaer i ogledd Cymru.
- Creu rheilffordd traws-Cymru: cysylltu cymunedau arfordirol Cymru trwy ail-agor lein Caerfyrddin i Aberystwyth ynghyd ag ail gyfnod i gysylltu ein cymunedau o'r de i'r gogledd.
- Traws-Reilffordd i'r Cymoedd, o Porth i Bont-y-pŵl.
- Ehangu rhwydwaith bysus Traws Cymru gyda bysus o ansawdd uchel wedi'u pweru gan ffynonellau ynni adnewyddol.
- Bydd Trafnidiaeth Cymru yn creu cwmni bysus rhanbarthol newydd mewn dwylo cyhoeddus i dde Cymru. Bydd hyn yn uno Bysus Caerdydd a Chasnewydd gyda First Cymru i roi gwasanaethau bysus ychwanegol rhwng dinasoedd Casnewydd, Caerdydd ac Abertawe, a gwasanaethau ychwanegol ar draws y cymoedd.

## Seilwaith Ynni Gwyrdd

- Morlynnoedd Llanw i Fae Abertawe, Caerdydd a Bae Colwyn
- Adeiladu fferm wynt yn y môr oddi ar Ynys Môn.
- Adeiladu morglawdd ar Afon Wysg.
- Rhwydwaith o gridiau ynni lleol i Gymru.
- Newid deddfwriaeth cynllunio defnydd tir i wreiddio llwybr cyflym ar gyfer cynlluniau ynni cymunedol megis prosiectau trydan dŵr, gyda rhagdyb o blaid datblygu.



# Chwyldro Swyddi Gwyrdd i Gymru

## Seilwaith Cymdeithasol ac Economaidd Gwyrdd

- Rhaglen gynhwysfawr o Dai Gwyrdd gwerth £5bn i wella effeithlonrwydd ynni tai yng Nghymru a lleihau tlodi tanwydd
- Adeiladu 20,000 o dai cymdeithasol gwyrdd.
- Creu Corfforaeth Ddatblygu Drefol newydd i'r Cymoedd ac i ranbarth Arfor (arfordirol) gorllewin a gogledd-orllewin Cymru.
- Dynodi canol trefi ledled Cymru fel Parthau Cyfle, gyda rhyddhad trethi a buddsoddiad cyfalaf i'w troi yn sbardunau datblygu gwyrdd lleol yn hytrach nac arwyddion o ddirywiad.
- Byddwn yn sefydlu Parthau Gweithredu Cyflogaeth mewn ardaloedd gwledig a diwydiannol lle mae diweithdra'n uchel, lle byddwn yn cynnig  eithriadau arbennig i Yswiriant Gwladol y cyflogwr a gwell credydau treth ar gyfer Ymchwil a Datblygu.

## Caffael yn y Sector Cyhoeddus

Mae modd creu mwy o swyddi cyfeillgar i'r amgylchedd yn sector cyhoeddus Cymru trwy hyrwyddo polisïau caffael mwy lleol. Mae llawer gormod o arian yn cael ei wario ar brynu nwyddau a gwasanaethau gan gontractwyr o'r tu allan i Gymru. Mae cwmnïau enfawr amlwladol yn gwneud gwaith y gellid ei wneud gan gwmnïau lleol.

Bydd Plaid Cymru yn brwydro i sicrhau y bydd biliynau o bunnoedd mewn contractau sector cyhoeddus yn cael eu gwario yng Nghymru, gan amddiffyn swyddi a chadw buddsoddiad yn lleol. Fel rhan o reoliadau caffael cyhoeddus newydd, fe wnawn yn siŵr fod pob gweithiwr yn y sector cyhoeddus yng Nghymru a'r rhai sy'n gweithio yn y sector preifat sy'n gweithio i fusnesau sy'n derbyn arian cyhoeddus, yn ennill cyflog byw go-iawn. Mae Plaid Cymru yn gwrthwynebu defnyddio Contractau Dim Oriau ac wedi arwain galwadau ar i'r Senedd eu gwahardd yng Nghymru.

# GOFALU AM BAWB

## Gofal Cymdeithasol am Ddim ar Bwynt Angen

Yn wyneb toriadau cyson a llym a chynnydd yn y galw, mae ein gwasanaethau cymdeithasol yn cael trafferth ymdopi, a'r bobl fregus sy'n eu defnyddio sydd yn dioddef.

Bydd Gofal Cymdeithasol am ddim ar bwynt angen, wedi ei gyflwyno gan Wasanaeth Iechyd a Gofal Cymdeithasol newydd, yn sicrhau bod ein pobl hŷn yn cael eu trin gyda'r urddas maent yn haeddu. Yr ydym yn amcangyfrif y bydd hyn yn costio £300 miliwn y flwyddyn yn ychwanegol, ac yng nghyd-destun cyllideb Gymreig gyffredinol o £17 biliwn, mae hyn yn flaenoriaeth y gellir ei gyrraedd.

Caiff gofal cymdeithasol ei drawsnewid yn wasanaeth sydd yn rhoi annibyniaeth pobl uwchlaw anghenion biwrocratiaeth, sy'n golygu mai ein nod yw gwneud bywydau pobl yn werth eu byw, yn hytrach na dim ond cadw pobl yn fyw. Byddwn yn rhoi llawer mwy o bwyslais ar fuddsoddi mewn ymyriad cynnar a gwasanaethau iechyd a gofal ataliol er mwyn sicrhau y gellir cadw pobl yn iach ac annibynnol. Dyma'r ffordd orau o leihau'r pwysau ar y GIG.

Byddwn yn sefydlu cydraddoldeb tâl ac amodau rhwng gweithwyr Iechyd a Gofal Cymdeithasol. Nid oes modd cyrraedd yr uchelgais o gael gwasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol yn gweithio ochr yn ochr gyda'r anghydraddoldeb presennol. Rydym eisiau i'n pobl wael, hŷn a bregus gael eu trin a derbyn gofal yn effeithiol a chydag urddas. Yr unig ffordd i hyn ddigwydd yw os bydd y gweithlu gofal cymdeithasol wedi ei hyfforddi yn ddigonol, gyda'r adnoddau a'r symbyliad i wneud hynny. Mae cynllunio ar gyfer gweithlu llawn sgiliau a chynaliadwy felly yn hanfodol.



# Gofalu Am Bawb

## Y Genhedlaeth Hŷn

Fel plaid, yr ydym yn cydnabod effaith gadarnhaol pobl hŷn ar yr economi a byddwn yn hybu Cymru fel lleoliad cyfeillgar i bobl hŷn. Bydd Plaid Cymru yn amddiffyn ein pensiynwyr rhag y toriadau llechwraidd a osodwyd arnynt dros y ddegawd a aeth heibio.

Mae Plaid Cymru yn cydnabod pwysigrwydd pobl hŷn i Gymdeithas Cymru a'n heconomi. Ymgyrchodd Plaid Cymru dros ddiwedd yr oedran ymddeol gorfodol, a bydd yn cefnogi pobl hŷn i aros mewn gwaith, neu ddod o hyd i waith pe dymunent. Byddwn yn gweithio gyda sefydliadau'r trydydd sector a'r heddlu i warchod pobl hŷn yn well rhag sgamiau twyllodrus.

Yr ydym yn cefnogi ymgyrch Menywod yn Erbyn Anghyfiawnder Pensiwn y Wladwriaeth (WASPI) a buasem yn rhoi iawndal i'r menywod hynny sydd ar eu colled oherwydd trwy'r polisi difeddwl hwn na roddwyd digon o wybodaeth amdano.

Mae Plaid Cymru yn cefnogi galwadau gan Gymdeithas Pensiynau Glowyr y DG i ail-drafod y rhaniad 50-50 o'r pensiwn dros ben. Byddwn yn parhau i fynnu bargen decach i gyn-lowyr iddynt gael yr arian sydd yn ddyledus iddynt.

**Ben Lake fu un o'r lleisiau cryfaf dros fenywod WASPI dros y ddwy flynedd ddiwethaf, mewn ymgyrchoedd lleol yng Ngheredigion a rhai seneddol yn San Steffan.**

Byddwn yn amddiffyn y buddiannau a roddir i bensiynwyr a byddwn yn cadw'r clo triphlyg ar bensiynau'r wladwriaeth. Byddwn yn gofyn i'r BBC wrthdroi'r toriadau i drwyddedau teledu am ddim. Bydd y tocynnau bws am ddim sy'n caniatau i bobl hŷn gadw mewn cysylltiad â chyfeillion a chynnal eu hannibyniaeth yn cael ei warchod, a bydd buddsoddiad mewn cludiant cyhoeddus yn dod yn fwy pwysig. Byddwn hefyd yn cefnogi cadw toiledau cyhoeddus ar agor fel bod pobl hŷn, ac eraill, yn gallu ymweld â chanol trefi a mannau eraill o ddiddordeb er mwyn cynnal eu hannibyniaeth.



# Gofalu Am Bawb

## Mwy o Feddygon, Nyrsys a Deintyddion

Mae GIG Cymru heddiw wedi'i nodweddu gan brinder o feddygon, nyrsys a deintyddion. Mae nifer y meddygon y pen yng Nghymru yn is nac yn yr Alban a dyma un o'r isaf yn Ewrop, er gwaethaf ein hystadegau afiechyd uwch.

Mewn llywodraeth, bydd Plaid Cymru yn hyfforddi ac yn recriwtio 1,000 o feddygon yn ychwanegol, 5,000 o nyrsys a 100 o ddeintyddion i GIG Cymru. Byddwn yn cynyddu nifer y meddygon, nyrsys a deintyddion Cymreig cynhenid trwy fuddsoddi mewn ysgolion a hyfforddiant meddygol, gan gynnwys cyflymu datblygu ysgol feddygol ym Mangor. Mewn ardaloedd ac arbenigeddau anodd recriwtio, byddwn yn cynnig cymhellion ariannol i feddygon newydd yn gyfnewid am wasanaeth. Bydd hyn hefyd yn ein galluogi i sicrhau ein bod yn gwarchod ein gwasanaethau lleol a gwella mynediad at ofal yn y gymuned.

Mae GIG Cymru yn gwneud gormod o ddefnydd o staff asiantaeth. Cynyddodd y gwariant hwn o £60m yn 2013-14 i £150m yn 2018-19. Byddwn yn anelu at ddwyn y swm hwn i lawr i lefelau 2013-14, gan ryddhau £90m yn ychwanegol i gyfrannu at ein rhaglen recriwtio.





# Gofalu Am Bawb

## Gwrthwynebu Preifateiddio

Does dim lle i ymelwa yn ein gwasanaeth iechyd. Mae Plaid Cymru yn gwrthod marchnadeiddio a phreifateiddio'r GIG a byddwn yn parhau i wrthwynebu unrhyw symudiad i'r cyfeiriad hwn gan lywodraethau, boed yn San Steffan neu Fae Caerdydd.

Diolch i bwysau gan Blaid Cymru ac undebau llafur, gorfodwyd Llywodraeth Lafur Cymru i dderbyn fod Bwrdd Iechyd Betsi Cadwaladr yn cynllunio i breifateiddio gwasanaethau dialysis a hyd yn oed drosglwyddo nyrsys y GIG i'r sector preifat. Fe roesant y gorau i'r cynlluniau dialysis, ond dyma hwy yn dod â chynllun newydd i breifateiddio fferyllfeydd. Rydym yn parhau i arwain y frwydr yn erbyn preifateiddio.

Os byddwn yn gadael yr UE, byddwn yn gwrthwynebu'n gryf gynnwys GIG Cymru yn unrhyw gytundebau masnach yn y dyfodol ag UDA, os bydd angen trwy hyrwyddo deddfwriaeth yn y Senedd.

## Rôl Llywodraeth Leol

Mae Plaid Cymru yn cydnabod gwaith hanfodol llywodraeth leol o ran darparu gwasanaethau hanfodol i'r gymuned. O amddiffyn plant i ddatblygu economaidd, o gynnal priffyrdd i addysg, yr awdurdodau lleol sy'n chwarae rhan bwysig yn cyflwyno amrywiaeth arwyddocaol o wasanaethau.  Byddwn yn parhau i gefnogi rhoi cyllid iawn i wasanaethau cyngor, a byddwn yn parhau i ail-gydbwyso cyllideb Cymru tuag at ymyriadau ataliol sy'n cael eu cyflwyno'n lleol ar draws gwasanaethau iechyd a chymdeithasol, addysg a chefnogaeth i deuluoedd.

## Gwasanaethau Iechyd Meddwl

Cred Plaid Cymru yn gryf y dylai iechyd meddwl gael yr un parch â gwasanaethau eraill y GIG. Byddwn yn darparu ar gyfer cynnydd o 5% mewn gwariant iechyd meddwl bob blwyddyn am y ddegawd nesaf, sydd yn dyblu'r swm a wariwn yn gronnus.

Byddwn yn sefydlu gwasanaeth argyfwng iechyd meddwl 24/7 i'r rhai mewn loes difrifol, a fydd yn gweithio ochr yn ochr â'r gwasanaethau brys. Byddwn yn parhau i gefnogi agweddau poblogaeth gyfan at wella iechyd meddwl pawb ac atal salwch trwy well addysg mewn ysgolion, mynediad at fannau gwyrdd, a mynd i'r afael â'r stigma a'r camwahaniaethu y mae cymaint yn ddioddef.



# Gofalu Am Bawb

Ni ddylid gorfodi pobl â phroblemau iechyd meddwl i deithio i gyfleusterau preswyl sydd wedi eu rhoi allan i wasanaethau eraill ac sy'n aml yn amhriodol. Byddwn felly yn ceisio sefydlu gwasanaethau arbenigol yng Nghymru i'r niferoedd bychain sydd angen triniaeth aciwt fel cleifion mewn ysbytai, gan adeiladu'r cyfleusterau all gynorthwyo adferiad.

Byddwn yn buddsoddi mewn gwell gwasanaethau iechyd meddwl cymunedol, gan gynnwys creu mwy o gwnselwyr fel, lle bo hynny'n briodol, fod dewisiadau eraill yn lle meddyginiaeth ar gael ym mhob cymuned.

Mae gan lawer o bobl â phroblemau iechyd meddwl hefyd broblemau gyda chamddefnyddio sylweddau. Dylid hyfforddi gweithwyr iechyd meddwl proffesiynol i drin y cyflyrau cysylltiedig hyn.

Byddwn yn adfer i Gymru yr uned mamau a babanod arbenigol i famau sy'n dioddef salwch meddwl difrifol a dynnwyd ymaith gan Fwrdd Iechyd Caerdydd a'r Fro yn 2013.

## Canser

Gan Gymru y mae'r cyfraddau isaf o oroesi canser na'r rhan fwyaf o wledydd yn Ewrop. Bydd profion diagnostig amlddisgyblaethol sydd ond ar gael ar hyn o bryd yn ne Cymru yn cael ei ymestyn i weddill y wlad. Byddwn hefyd yn darparu rhaglenni sgrinio lle dengys y dystiolaeth glinigol y bydd y rhain o les.

Yr ydym yn dal wedi ymrwymo i sicrhau fod gan gleifion canser weithiwr allweddol i'w cefnogi trwy holl gamau eu taith ganser. Byddwn yn datblygu llwybrau canser sy'n peri bod triniaeth gyflymach ar gael, yn enwedig i'r rhai sydd mewn mwyaf o risg clinigol.

## Gofal Iechyd Gwledig

Byddwn yn gwella mynediad at ofal iechyd gwledig trwy ddarparu gwasanaethau Brys a Mamolaeth dan arweiniad meddyg ymgynghorol o fewn cyrraedd awr o gymunedau gwledig ac ymylol. Byddwn yn diwygio canllawiau cynllunio'r GIG rhag cosbi ysbytai gwledig. Bydd rhwydweithiau clinigol yn galluogi ymgynghorwyr sy'n gweithio yn bennaf mewn ysbytai llai i gadw setiau sgiliau digonol.



# Gofalu Am Bawb

## Gwasanaeth Adsefydlu'r GIG

Byddwn yn creu Gwasanaeth Cymunedol Adsefydlu'r GIG, sy'n dwyn ynghyd feddygon teulu, ffisiotherapyddion, therapyddion galwedigaethol, nyrsys ardal a chymunedol, cwnselwyr iechyd meddwl ac eiriolwyr cleifion. Bydd yn gyfrifol am driniaeth ddilynol a sicrhau bod gwasanaethau eraill megis nawdd cymdeithasol ac awdurdodau lleol yn chwarae eu rhan i helpu cleifion. Dyma wnaiff y gwasanaeth hwn:

- Darparu adsefydlu i gleifion wedi triniaeth, gan gynnwys atal mwy o afiechyd, a sicrhau y gall yr unigolyn fyw mor annibynnol ag sydd modd.
- Sicrhau bod cyflyrau cronig yn cael eu rheoli yn y modd gorau posib
- Trin achosion afiechyd parhaol megis mynediad at gefnogaeth incwm a thai gwael.

## Iechyd Cyhoeddus

Mae Plaid Cymru eisoes wedi arwain y ffordd ar fesurau iechyd cyhoeddus yng Nghymru, gan ymgyrchu'n llwyddiannus am waharddiad ar ysmygu mewn mannau cyhoeddus ac isafswm bris am alcohol. Tan yn ddiweddar,  cawsom ein gwawdio am awgrymu treth ar ddiodydd llawn siwgr, ond dyma'r polisi ar draws y DG bellach. Byddwn yn edrych ymhellach i mewn i weld sut y gellir defnyddio'r system dreth i hyrwyddo iechyd cyhoeddus trwy gyflwyno isafswm pris yr uned o alcohol, a thrwy osod trethiant ychwanegol ar gynhyrchion eraill a all fod yn niweidiol.

Byddwn yn sefydlu Sefydliad Cenedlaethol dros bolisi Iechyd Cyhoeddus fyddai'n annibynnol ac yn cael ei gyllido'n gyhoeddus i roi cyngor ar bob mater iechyd cyhoeddus heb i fuddiannau sefydlog ddylanwadu arno. Y corff hwn fydd hefyd yn gyfrifol am gefnogi ysgolion i addysgu plant am ddulliau iach o fyw.

Byddwn yn diwygio'r gyfraith gynllunio i roi mwy o warchodaeth i fannau gwyrdd mewn ardaloedd trefol, ehangu'r isafswm gofyniad am ddarparu llefydd chwarae mewn datblygiadau cynllunio, a gwahardd gwerthu meysydd chwarae ar gyfer tai oni fydd caeau cyfatebol yn dod yn eu lle.

Byddwn yn gwario mwy ar lwybrau teithio llesol a hyrwyddo cerdded a seiclo. Byddwn yn gwneud yn siŵr fod pob ysgol yn cwrdd â'r isafswm gofyniad o ddarparu cyfle i blant wneud dwyawr o weithgaredd corfforol bob wythnos.

Byddwn yn atal awdurdodau lleol rhag torri mynediad at gyfleusterau chwaraeon a hamdden, neu ddefnyddio trosglwyddo'r cyfleusterau hynny lle byddai gwneud hynny yn peryglu mynediad at y cyfryw gyfleusterau.



# Gofalu Am Bawb

## Camddefnyddio Cyffuriau

Gall camddefnyddio cyffuriau gael effaith andwyol ar bobl a'u hanwyliaid. Fodd bynnag, mae'r agwedd galed bresennol at gyffuriau yn gwneud dinasyddion sy'n gaeth i gyffuriau yn droseddwyr ond nid yw'n gwneud dim i'w helpu i oresgyn eu problemau.  Mae hefyd yn gwneud troseddwyr o bobl a all ddefnyddio cyffuriau fel meddyginiaeth neu i hamddena ond nad ydynt yn gwneud niwed i eraill.

Yn hytrach na chanolbwyntio gwasanaethau ar yr holl ddefnyddwyr cyffuriau, credwn y dylem ganolbwyntio ar y nifer fechan o bobl gyda dibyniaeth a cheisio ymdrin ag achosion gwaelodol eu camddefnydd trwy Checkpoint Cymru.

Mae cyffuriau wedi eu dadgriminaleiddio ym Mhortiwgal ers 2001, gan gymryd agwedd iechyd cyhoeddus at ddefnyddwyr cyffuriau; anghymell defnyddwyr cyffuriau newydd ac annog defnyddwyr cyffuriau dibynnol i fynd i gael triniaeth, a chanolbwyntio adnoddau'r heddlu ar y sawl sy'n elwa o'r fasnach gyffuriau.

Trwy anfon y neges nad troseddwyr mo defnyddwyr cyffuriau, mae'r diwygio hwn wedi cyfrannu at fwy o oddefgarwch ac integreiddio defnyddwyr cyffuriau i gymdeithas. Mae wedi lleihau'r gwarth ynghylch y defnydd o gyffuriau ac wedi caniatau i fwy o ddefnyddwyr gael y driniaeth mae arnynt ei angen.

Hefyd, mae'r defnydd o gyffuriau ym Mhortiwgal wedi lleihau ers dadgriminaleiddio. Mae amlygrwydd cyffuriau yn is na chyfartaledd yr UE ac, er enghraifft, yno bellach y mae'r gyfradd isaf o ddefnydd canabis yn yr UE. Yn hytrach na throi mwy o bobl at gyffuriau, mae dadgriminaleiddio wedi gadael i fwy o bobl dderbyn y driniaeth mae arnynt ei angen.

Oherwydd hyn, mae Plaid Cymru yn galw am Gomisiwn cenedlaethol ar ddiwygio'r gyfraith ar gyffuriau.



# Gofalu Am Bawb

## Atebolrwydd Rheolwyr y GIG

Byddwn yn gwneud rheolwyr y GIG yn atebol trwy sefydlu corff rheoleiddio newydd i reolwyr cydnabyddedig y GIG. Bydd hwn yn gyfrifol am osod a gwella safonau proffesiynol i reolwyr yn y GIG. Byddwn yn rhoi i'r corff rheoleiddio newydd y grym i dynnu rheolwyr oddi ar y gofrestr os byddant wedi camymddwyn neu wneud camgymeriadau difrifol. Byddwn hefyd yn sefydlu gweithdrefn newydd genedlaethol ar gyfer chwythu'r chwiban a gwell gwarchodaeth i'r sawl sy'n chwythu'r chwiban yn y GIG.

## Siarter Hawliau Cleifion

Byddwn yn cyflwyno Siarter Hawliau Cleifion i nodi isafswm safonau gwasanaeth i gleifion, gan gynnwys uchafswm amseroedd aros cyn i gleifion dderbyn triniaeth.

## Ymchwil

Byddwn yn buddsoddi yn y seilwaith angenrheidiol i wneud GIG Cymru yn amgylchedd o'r radd flaenaf ar gyfer cynnal treialon clinigol. Bydd hyn yn ein helpu i recriwtio meddygon a gwyddonwyr, yn ogystal â sicrhau bod ein cleifion yn gallu cyrchu'r triniaethau diweddaraf a mwyaf arloesol. Byddwn yn parhau i bwyso am i Gymru gymryd rhan mewn rhwydweithiau Ymchwil Ewropeaidd, a sicrhau bod Cymru yn derbyn ei chyfran deg o gyllid ymchwil.

## Cymwysterau Proffesiynol Cadarn

Dylai cymwysterau i weithwyr proffesiynol sy'n gweithio yn y GIG fod yn gadarn ac yn gydnaws â safonau'r UE. Ni ddylid eu glastwreiddio gan unrhyw fygythiad o weithlu heb ei reoleiddio. Byddwn yn pwyso am allu gweithwyr iechyd proffesiynol i symud yn rhydd ledled yr UE.

## Treialon Clinigol

Yr ydym yn cefnogi cyhoeddi treialon clinigol i sicrhau tryloywder mewn ymchwil feddygol. Byddwn yn cefnogi ymdrechion i gynyddu cadernid trwyddedu meddyginiaethau gan yr UE, a rheoleiddio cryfach yn erbyn honiadau iechyd ffug wrth farchnata cynhyrchion. Byddwn yn gwarchod rhag unrhyw ymgais i leihau'r safonau hyn mewn unrhyw amgylchedd wedi Brexit.



# Gofalu Am Bawb

## GIG Di-bapur

Byddwn yn defnyddio datblygiadau technolegol i fod yn sylfaen i fodelau modern o ofal er mwyn cael canlyniadau gwell i gleifion yn ogystal â gwneud defnydd mwy effeithiol o gyllid ac adnoddau dynol. Bydd cofnodion cleifion yn hollol electronig o fewn cyfnod y Llywodraeth nesaf a gall pob claf gyrchu Gwasanaeth Iechyd Digidol fydd yn cynnig ap i archebu apwyntiadau, cysylltu ag arbenigwyr dros wasanaeth negesu diogel, a gweld canlyniadau labordy.



# CHWARAE TEG I DEULUOEDD

## Codi Plant Allan o Dlodi

Mae pob plentyn yn haeddu cael y cychwyn gorau mewn bywyd. Mae Plaid Cymru eisiau ein plant i fyw mewn cartrefi cynnes, cael digon o fwyd, derbyn addysg o'r radd flaenaf, a bod yn hapus.

Y gwir yw mai gan Gymru y mae'r cyfraddau uchaf o dlodi plant o unrhyw un o wledydd y DG, gydag un o bob tri o blant yn byw mewn tlodi. Dywedodd y Sefydliad Astudiaethau Cyllidol, oni fydd dim yn newid, bod y ffigwr hwn yn debyg o godi i 40% o blant Cymru erbyn 2020, gyda diwygio lles yn ffactor arwyddocaol. Mae hyn yn gondemniad hallt o effaith agenda llymder creulon y Ceidwadwyr a thoriadau yn sgil hynny i les, ynghyd ag ugain mlynedd o lywodraethu Cymru yn aneffeithiol gan Lafur Cymru.

Y tu hwnt i'r ystadegau, mae i dlodi ganlyniadau go-iawn i fywydau plant yng Nghymru heddiw. Mae plant yn cael eu gorfodi i fynd i'r ysgol eisiau bwyd ac i'r gwely'n oer, ac y mae hyn yn cael effaith negyddol ar eu hiechyd a'u haddysg. Gall tlodi gael effeithiau pellgyrhaeddol hefyd, pan fydd plant wedi tyfu'n oedolion, megis risg uwch o ddigartrefedd, llai o botensial i ennill cyflog a mwy o debygolrwydd o gael salwch sy'n cyfyngu.

Daeth yn bryd gweithredu'n feiddgar. Oni wnawn hyn, rydym mewn perygl o adael i genhedlaeth gyfan o blant Cymru sydd mewn teuluoedd incwm isel gael eu gadael ar ôl. Mewn llywodraeth, bydd Plaid Cymru yn cyflwyno cynllun cynhwysfawr i fynd i'r afael â thlodi plant a fydd yn cynnwys:

- Taliad newydd o £35 yr wythnos i bob plentyn mewn teulu incwm isel, gan godi 50,000 o blant yng Nghymru allan o dlodi.
- Gofal ac addysg am ddim i bob plentyn 1-3 oed – byddwn yn darparu gofal plant llawn am ddim i'r blynyddoedd cynnar ac addysg blynyddoedd cynnar i bob plentyn rhwng 1-3 oed. Byddwn yn cynnig gofal diwnïad o'r blynyddoedd cynnar i'r ysgol.



# Chwarae Teg i Deuluoedd

- Ein nod fydd defnyddio'r cam cyntaf hwn mewn addysg i sicrhau fod holl blant Cymru yn dod yn ddwyieithog.
- Byddwn yn gosod targedau statudol ar gyfer lleihau tlodi plant.

Mae ymyriadau blynyddoedd cynnar yn hollbwysig. Byddwn yn sicrhau y bydd strategaethau ymyrryd cynnar lleol a chenedlaethol amlasiantaethol yn creu maes chwarae gwastad i bob plentyn, waeth beth fo'i gefndir na'i amgylchiadau. Bydd Plaid Cymru yn defnyddio ysgolion fel canolfannau cefnogi teuluoedd gydag ymyriadau cynnar amlasiantaethol i blant bregus a'u teuluoedd o gyfnod eu geni ymlaen.

## Codi Safonau Addysg

Byddwn yn codi safonau addysg ac yn creu mwy o gyfleoedd i'n plant trwy fynd i'r afael â'r argyfwng cyllido mae ein hysgolion yn wynebu sy'n golygu bod £324 yn llai yn cael ei wario mewn termau real fesul disgybl yn 2018-19 na'r ffigurau cyfatebol yn 2009-10.

Bydd Plaid Cymru yn darparu £300 miliwn yn ychwanegol y flwyddyn i'n hysgolion a'n colegau, fel bod modd cynllunio yn y tymor hir. Bydd yn ein galluogi i ehangu buddsoddiad cyfalaf mewn canolfannau ysgol-cymunedol newydd, ynghyd â datblygu ysgolion cyfrwng Cymraeg newydd ac ysgolion 3-14 a 3-19 lle mae galw lleol.

Byddwn yn gwneud yn siŵr fod adnoddau yn cyrraedd y rheng flaen yn effeithiol ac yn amserol, gan symud ymaith oddi wrth grantiau penodol a dyraniadau munud-olaf. Byddwn yn gweithio gyda darparwyr gofal plant, megis y Mudiad Meithrin, er mwyn sicrhau bod digon o ofal plant yn y Gymraeg ar gael ym mhob rhan o Gymru.

Mae athrawon i ysbrydoli plant yn ein hysgolion yn hanfodol i godi safonau a chynhyrchu Cymru ffyniannus a theg. Byddwn yn annog cysylltiad agos rhwng athrawon a disgyblion a rhoi lle i'r berthynas ffynnu. Rhaid i ni ddilyn pob llwybr er mwyn hybu a gwarchod y berthynas bwysig hon, gan wneud i ffwrdd â phob ymyriad diangen. Mae dysgu da yn gwneud y byd o wahaniaeth.

Fodd bynnag, rydym ar hyn o bryd yn wynebu argyfwng yn ein system addysg gydag amcan fod un o bob tri o athrawon yn gadael yr ystafell ddosbarth ymhen eu pum mlynedd gyntaf. Felly, bydd llywodraeth Plaid Cymru yn gweithredu cyfres o gamau i roi i athrawon a staff ategol fan gwaith cefnogol, gan ganiatau iddynt wneud eu perthynas gyda'u disgyblion yn brif ganolbwynt eu gwaith. Gwneir hyn fel a ganlyn:



# Chwarae Teg i Deuluoedd

- Defnyddio'n llawn y pwerau a ddatganolwyd dros amodau gwaith yn y dosbarth i sicrhau bod athrawon yn cael neilltuo eu hamser i ddysgu ac ysbrydoli eu disgyblion, gan wneud anghenion y plentyn a'r person ifanc yn ganolog i bopeth maent yn wneud.
- Torri biwrocratiaeth a gwneud i ffwrdd â phob ymyriad diangen sy'n tarfu ar berthynas bwysig yr athro a'r plentyn, gan ganolbwyntio ar gefnogaeth, monitro ac atebolrwydd ystyrlon lle bo angen yn dilyn adolygiad llawn o'r arfer cyfredol.
- Creu rhwydwaith broffesiynol i gefnogi staff gyda chyfraddau cyflog digonol a llwybr gyrfa clir.
- Sicrhau ein bod yn denu ac yn cadw yr athrawon gorau oll trwy godi safon ffurfiol dysgu fel proffesiwn trwy gyflwyno datblygu proffesiynol parhaus gorfodol.
- Creu Asiantaeth Gydweithredol Genedlaethol i Athrawon Llanw fydd yn sicrhau eu bod yn derbyn yr un hawl a haeddiant i hyfforddiant a safonau ag athrawon dosbarth.

Mae datblygu'r cwricwlwm newydd yn rhoi cyfleoedd cyffrous newydd i drawsnewid ein system addysg. Fodd bynnag, mae cyflwyno ffordd newydd o weithio yn galw am lawer o baratoi a chefnogaeth. Bydd Plaid Cymru yn gwneud yn siŵr fod gan athrawon yr amser a'r adnoddau mae arnynt ei angen i baratoi, a mynediad at gyfleoedd datblygu proffesiynol er mwyn gwneud yn siŵr fod y cwricwlwm yn cael ei weithredu'n effeithiol. Byddwn yn gwneud yn siwr ein bod yn manteisio ar y cyfleoedd mae'r cwricwlwm newydd yn roi i feithrin dealltwriaeth dda o iechyd meddwl a lles, gan gynnwys sefydlu addysg gorfforol fel elfen graidd o'r cwricwlwm gyda mwy o amser yn cael ei neilltuo ar gyfer ymarfer corff. Yn ogystal â darparu gwersi ar berthynas iach, dinasyddiaeth, hawliau plant a hunaniaeth Gymreig.

## Addysg Uwch

Cred Plaid Cymru y dylai addysg uwch fod ar gael am ddim i bawb, a byddwn yn parhau i weithio tuag at y nod hwn. Un arall o'r egwyddorion sy'n ein llywio yw ein penderfyniad i ymdrin â'r dylifiad dawn cyson o bobl ifanc allan o Gymru. Gadawodd deugain y cant o holl fyfyrwyr Cymru y wlad llynedd.

Bydd Plaid Cymru yn cynnal adolygiad o'r cynnig cyllid i fyfyrwyr ôl-raddedig a graddedig sy'n byw yng Nghymru, o ran ffioedd dysgu a chostau byw.



# Chwarae Teg i Deuluoedd

Byddwn yn darparu cymhorthdal i fyfyrwyr sy'n byw yng Nghymru ac sydd eisiau astudio yng Nghymru. Ni fydd grwpiau targed a'r rhai sy'n astudio pynciau sy'n hanfodol i economi Cymru a nodau cyhoeddus yn talu unrhyw ffioedd dysgu yng Nghymru, gan gynnwys y sawl sy'n cymryd swyddi gofal iechyd allweddol, sy'n astudio gwyddoniaeth, peirianneg a phynciau technoleg a myfyrwyr o gefndiroedd arbennig o heriol.

Hefyd, byddwn yn:

- Cynyddu cyllid i brentisiaethau gradd yng Nghymru
- Gwarantu cyllid yn lle cyllid yr UE oedd yn cefnogi ymchwil mewn addysg uwch os bydd Brexit yn digwydd
- Amddiffyn symudedd myfyrwyr i mewn ac allan wedi Brexit, gan gynnwys cymryd rhan yn Erasmus+ neu unrhyw gynlluniau olynol ac astudio trawsffiniol ar ynys Iwerddon.

## Addysg Bellach

Mae colegau Addysg Bellach yn gyswllt hollbwysig i ehangu sgiliau allweddol a chynhyrchedd i bawb. Ond nid ydynt yn cael digon o arian ac nid yw athrawon a darlithwyr colegau yn cael yr un lefel o gefnogaeth na thâl ag athrawon ysgol. Bwriadwn gynyddu tâl darlithwyr colegau yng Nghymru i sicrhau cydraddoldeb ag athrawon ysgol o ran tâl sylfaenol yr awr.

Bydd Plaid Cymru yn sefydlu swydd swyddog myfyrwyr taledig i bob coleg er mwyn sicrhau bod undebau myfyrwyr ar sylfaen gadarn yn y sector AB. Bwriadwn wneud cludiant cyhoeddus am ddim i bob myfyriwr AB/6ed dosbarth a phrentis yng Nghymru dan 21 oed sydd mewn addysg neu hyfforddiant amser llawn.

## Prentisiaethau

Ni all prentisiaid dan 21 oed fynd at rwydweithiau cefnogi megis lleisiau myfyrwyr. Ni ddylid meddwl am brentisiaeth fel man cychwyn i waith, ond fel profiad addysgol gyda mwy o unffurfiaeth nag sy'n digwydd ar hyn o bryd.

Yr ydym yn cynnig y dylai prentisiaid dan 21 oed gael eu partneru gyda choleg Addysg Bellach i gael y gefnogaeth briodol, gan gynnwys mynediad at ddyddiau addysg/hyfforddiant yn y coleg, ar y safle neu mewn mannau eraill ar gyfer sgiliau allweddol neu ddewisiadau addysg eraill priodol.

# GWEITHREDU AR DAI

## Help i bobl yn y sector rhentu

Yr ydym yn cefnogi credyd treth newydd i bobl sy’n talu mwy na 30% o’u hincwm ar rent a chyfleustodau.

Mae rhentwyr yng Nghymru yn cael bargen wael: mae 37% o rentwyr preifat yng Nghymru yn ennill llai na £15,000, ac y mae bron i hanner yr aelwydydd preifat yng Nghymru yn gwario mwy na 30% o’u hincwm ar gostau tai.

Mae pawb angen tai diogel, sefydlog a chynaliadwy i aros yn iach, ond yng Nghymru, mae hynny’n dod yn fraint i lai o bobl bob blwyddyn, oherwydd prisiau cynyddol a chyllidebau cyfyng y sector cyhoeddus.

Mae hyn yn gadael dros 100,000 aelwyd heb fawr ddim i wario ar dreuliau byw sylfaenol megis bwyd, gwres neu gludiant. Mae rhent yn dod yn fwyfwy drud tra bod cyflogau yn aros yr un fath.

Bydd Plaid Cymru yn helpu’r bobl hynny trwy greu credyd treth newydd o hyd at £25 yr wythnos i aelwydydd sy’n talu dros 30% o’u hincwm ar rent preifat.

## Buddsoddi mewn Cartrefi Fforddiadwy

Ochr yn ochr â’r credyd treth newydd, mae arnom angen adolygiad o bolisi tai yng Nghymru. Mae’r cyflenwad o unedau tai cymdeithasol newydd yn is nag yr oedd yn y 1990au, y rhan fwyaf o’r 1980au, ac yn sylweddol is nac yn ail ran y 1970au. Mae hyn yn adlewyrchu diffyg parodrwydd un llywodraeth ar ôl y llall i fuddsoddi mewn tai cymdeithasol newydd dros y cyfnod.



# Gweithredu Ar Dai

Byddai llywodraeth Plaid Cymru yng Nghymru yn creu cwmni Tai Cenedlaethol newydd fydd yn benthyca yn erbyn rhenti i godi cenhedlaeth newydd o dai cyhoeddus ar rent yng Nghymru, gyda tharged o gael 20,000 o gartrefi newydd dros bum mlynedd. Byddwn hefyd yn cefnogi awdurdodau lleol sydd am godi tai cyngor newydd. Fe wnawn yn siwr hefyd fod pob tŷ a godir o'r newydd wedi'i insiwleiddio i'r safonau uchaf, a chydag offer ffotofoltaidd i gynhyrchu trydan a chynhesu dŵr trwy ynni solar.

## Digartrefedd

Mae torri darpariaethau a budd-daliadau cyhoeddus gan lywodraethau Ceidwadol yn San Steffan, ynghyd a pholisi o 'reoli dirywiad' gan Lywodraeth Lafur Cymru, wedi arwain at gynnydd enfawr mewn digartrefedd. Ar hyd a lled Prydain, mae dros 12,300 o bobl yn cysgu ar y strydoedd bob nos, gyda 12,000 arall yn treulio'r nos mewn ceir, ar drenau, bysus neu mewn pebyll.

Cynyddodd digartrefedd o 63% yng Nghymru rhwng 2012 a chafodd 10,373 o deuluoedd fygythiad o ddigartrefedd rhwng 2018 a 2019. Cred Plaid Cymru na all yr un gymdeithas ei galw ei hun yn gymdeithas wâr os yw rhywun yn gorfod cysgu ar y stryd. Yn anad dim, mater o ewyllys gwleidyddol yw mynd i'r afael â'r broblem hon.

Rydym yn cefnogi'r cynllun cynhwysfawr a manwl a gynhyrchwyd gan yr elusen digartrefedd Crisis a fyddai, o'i weithredu, yn diweddu digartrefedd ac yn rhoi arbedion cyffredinol i wasanaethau cyhoeddus o ryw £34.6 biliwn erbyn 2041. Yng Nghymru, byddai hyn yn golygu arbedion o ryw £70 miliwn y flwyddyn.

Bydd Plaid Cymru yn mabwysiadu athroniaeth 'cartrefu'n gyntaf' - fel sy'n cael ei weithredu mewn gwledydd fel y Ffindir- i gefnogi pobl ddigartref. Mae rhaglenni adfer yn fwy llwyddiannus wedi i unigolyn gael ei gartrefu. Mae mynnu eich bod yn ymwrthod a/neu yn sobr a chwithau'n ddigartref cyn cael llety yn anymarferol.

Rydym wedi ymrwymo i ddiddymu Deddf Cardota hynafol 1824, deddf a basiwyd cyn Oes Fictoria sy'n gwneud digartrefedd yn drosedd. Nid yn unig y mae dirwyo neu garcharu pobl ar y stryd yn greulon, mae'n arwain at eu hannog yn bendant i beidio ag ymwneud â'r heddlu rhag iddynt gael eu cosbi. Dyw hyn ddim yn helpu neb.



# Gweithredu Ar Dai

Rydym yn cefnogi agwedd seiliedig ar egwyddorion allweddol Centrepoint i fynd i'r afael â digartrefedd ieuenctid. Dylid cael 'un drws ffrynt' i bobl ifanc allu cael lle cyson a dibynadwy i allu mynd at help. Byddwn yn gwneud yn siwr fod asiantaethau yn cydgordio eu gweithgareddau i ymateb i bobl ifanc mewn perygl. Yn rhy aml, mae pobl ifanc yn disgyn rhwng y craciau gyda gwahanol wasanaethau ac asiantaethau.

Mae Plaid Cymru yn brwydro dros system fudd-daliadau decach fydd yn ystyried cost cartrefu.

## Cynllunio

Byddwn yn creu fframwaith strategol cyffredinol ar gyfer cynllunio sydd yn rhoi blaenoriaeth i ddatblygu cynaliadwy ac yn gwarchod rhag datblygiadau sy'n niweidio'r amgylchedd. Ein nod yw cael system sydd yn rhoi mwy o ryddid i unigolion i wella eu cartrefi eu hunain ond llai o ryddid i sathru ar gymunedau.

Byddwn yn diwygio'r system Cynlluniau Datblygu Lleol er mwyn sicrhau fod datblygu yn llawer mwy cydweithredol, gan ddwyn i mewn cymunedau yn gynt o lawer yn y broses nac ar hyn o bryd. Byddwn yn sicrhau y rhoddir mwy o amlygrwydd i'r iaith Gymraeg yn y system gynllunio, gyda gofyniad ar i bob datblygiad mawr ddangos effaith cadarnhaol ar y Gymraeg.

Byddwn yn creu Arolygiaeth Gynllunio yng Nghymru y bydd gofyn iddi gwrdd ag anghenion ein cymunedau.  Byddwn yn sicrhau tegwch yn y system gynllunio trwy gryfhau hawliau cymunedau i siarad ac i roi tystiolaeth i bwyllgorau cynllunio, a sicrhau fod pwyllgorau yn derbyn cyngor cyfreithiol sydd yn wirioneddol annibynnol.

# YMLADD TROSEDDAU

## Datganoli Plismona a Chyfiawnder

Nid yw'n dderbyniol mai Cymru yw'r unig genedl ar yr ynysoedd hyn heb bwerau dros ei pholisïau plismona a chyfiawnder.

Mae Plaid Cymru wedi ymrwymo i ddatganoli plismona a chyfiawnder i Gymru i roi'r grym i ni weithredu a dilyn polisïau sydd yn gwasanaethu buddiannau ein dinasyddion a'n cymunedau. Fel y dadleuodd Comisiwn Thomas ar Gyfiawnder yng Nghymru, bydd hyn yn caniatau i ni greu gwasanaethau integredig sy'n canoli ar bobl - o garchardai i gwnsela i dai - yn lle'r agwedd anghynnes bresennol sy'n rhoi blaenoriaeth i dargedau dros anghenion pobl.

Mae cyllidebau'r heddlu wedi eu torri, gan roi llawer llai o swyddogion ar y stryd. Mae heddluoedd Cymru wedi eu taro'n galetach na'r rhai yng ngweddill y DG, oherwydd fformiwla gyllido annheg. Rhwng 2010 a 2018, gostyngodd nifer yr heddweision yng Nghymru o 9%.

## Mwy o Heddlu yn ein Cymunedau

Bydd Plaid Cymru yn recriwtio 1,600 o heddweision yn ychwanegol – dau i bob cymuned – i'n cadw yn ddiogel. Byddai hyn yn golygu y bydd ein swyddogion wedi eu gwreiddio'n well yn ein cymunedau, yn lle cael eu hymestyn dros ardaloedd daearyddol eang heb fawr ddim adnoddau. Byddai hyn yn rhoi'r gallu i'r heddlu ganolbwyntio ar y blaenoriaethau mae arnynt eu hangen i'n cadw'n ddiogel.

Bydd yr heddweision ychwanegol yn helpu i hwyluso ymwneud y gymuned lle gall yr heddlu a'r gymuned sôn am faterion sy'n bryder iddynt oll. Mae agweddau wedi eu targedu, seiliedig ar y gymuned yn atal troseddau ac yn helpu adsefydlu.



# Ymladd Troseddau

## Atal Troseddau

Dros y blynyddoedd diwethaf, daethom i ddeall mwy am y berthynas rhwng Profiadau Andwyol mewn Plentyndod (PAP) - digwyddiadau trawmatig fel camdriniaeth rywiol neu gorfforol, trais yn y cartref a rhieni yn gwahanu - a throseddu a charcharu yn y dyfodol. Dangosodd astudiaeth PAP Cymru fod pobl a brofodd bedwar neu fwy PAP 14 gwaith yn fwy tebygol o ddioddef trosedd dreisiol dros y 12 mis diwethaf, 15 gwaith yn fwy tebygol o fod wedi cyflawni trosedd dreisiol ac 20 gwaith yn fwy tebygol o fod wedi eu carcharu ar unrhyw adeg yn eu hoes.

Cafodd wyth o bob deg carcharor yng Nghymru o leiaf un PAP a chafodd bron i hanner bedwar PAP neu fwy. Yn y boblogaeth yn gyffredinol, roedd 46% wedi cael un PAP a chafodd 14% bedwar neu fwy.

Mae ymyriadau cymunedol yn fwy effeithiol i leihau aildroseddu ac eithrio cymdeithasol na charcharu am gyfnodau byr. Nid yw dedfrydau byr yn cynnig llawer o gyfleoedd am adsefydlu ac y mae llawer o bobl yn gadael y carchar gyda'r un problemau sylfaenol oedd ganddynt pan aethant i mewn.

Credwn fod agwedd ataliol ar draws lleoliadau iechyd, cyfiawnder troseddol, addysg ac eraill yn fwy effeithiol i drin troseddu gan bobl ifanc. Profwyd fod ymdrin ag achosion sylfaenol troseddu, megis gwarchod plant rhag cam-drin neu esgeulustod, yn atal ymwneud y llysoedd ac y gall leihau caledi i lawer o bobl.

Fel rhan o'n hagwedd ataliol, byddwn yn gweithredu strategaeth dymor-hir o leihau niwed o ddefnyddio sylweddau. Mae problemau a marwolaethau o ganlyniad sylweddau yn fwy cyffredin yng Nghymru nac mewn rhannau eraill o'r DG. Rydym eisiau lleihau marwolaethau cysylltiedig â defnyddio sylweddau trwy fuddsoddi mewn strategaeth tymor-hir. Dylai hyn ganoli ar leihau niwed trwy amrywiaeth o wasanaethau a rhaglenni addysg sy'n trin defnyddwyr sylweddau problemus fel cleifion yn hytrach na throseddwyr.



# Ymladd Troseddau

## Camdriniaeth yn y Cartref

Pan oedd yn aelod o Bwyllgor y Mesur Camdriniaeth yn y Cartref ac yn gyd-gadeirydd Grŵp Seneddol yr Undebau Cyfiawnder a Llysoedd Teulu, Liz Saville Roberts oedd y llais arweiniol yn Senedd Llundain yn galw am adolygu llysoedd teulu er mwyn amddiffyn y sawl oedd wedi dioddef camdriniaeth yn y cartref.

Tynnodd Mesur Rheol Deng Munud Liz Saville Roberts sylw at fater croesholi gan y rhai oedd wedi cam-drin, yn enwedig mewn hawliadau trafferthus yn y llys; cefnogwyd hyn ar draws y pleidiau a llwyddwyd i roi pwysau ar Lywodraeth y DG i gynnwys y newid yn y Mesur drafft.

Fodd bynnag, oherwydd gemau seneddol byrbwyll Boris Johnson, aeth yr holl waith da a wnaed ar y Mesur Camdriniaeth yn y Cartref yn ofer.

Yn y sesiwn seneddol nesaf, bydd Plaid Cymru yn parhau i weithio'n galed dros ddarn cadarn o ddeddfwriaeth gan gynnwys:

- Cofrestr ar gyfer camdriniaeth ddomestig ailadroddus gyda chamdrinwyr a gafwyd yn euog o gam-drin dau/dwy neu fwy o ddioddefwyr, wedi ei weinyddu gan heddlu gyda'r adnoddau iawn
- Atal yr heddlu neu erlynwyr rhag datgelu cyfeiriad dioddefwr neu dyst i gamdriniaeth yn y cartref, rheolaeth orfodi neu ymosod rhywiol wrth y sawl a gyhuddir o'r drosedd
- Hyfforddiant cywir i heddluoedd ar drais yn y cartref
- Sicrhau bod gan Adrannau Brys ymgynghorwyr trais yn y cartref hyfforddedig all roi cyngor i feddygon neu gyfeirio achosion at yr heddlu
- Sicrhau bod mewnfudwyr a phobl DLIE sydd wedi dioddef trais yn y cartref yn derbyn cefnogaeth wedi ei deilwrio gan yr awdurdodau.

## Llysoedd a Chymorth Cyfreithiol

Bu Plaid Cymru yn ffyrnig eu gwrthwynebiad i ddiwygiadau Llywodraeth Prydain i'r gyllideb cymorth cyfreithiol sydd wedi tynnu mynediad at gymorth cyfreithiol oddi wrth filoedd o bobl. Mewn gwirionedd yr oedd Deddf Cymorth Cyfreithiol, Dedfrydu a Chosbi Troseddwyr 2012 yn gwrthdroi'r cynllun cymorth cyfreithiol blaenorol, gan symud y rhan fwyaf o faterion cyfreithiol sifil allan o gwmpas cymorth cyfreithiol.

Bydd Plaid Cymru yn gwrthdroi'r toriadau llym fel y gall pobl na all gyrchu cymorth cyfreithiol ar hyn o bryd arfer eu hawl i gyfiawnder. Dylai hyn gynnwys sefydlu cynllun asesu symlach a mwy hael ar gyfer cymorth



# Ymladd Troseddau

cyfreithiol sifil, gan sicrhau bod pawb sy'n derbyn budd-daliadau yn awtomatig yn gymwys am gymorth cyfreithiol, a gwneud cyfraniadau i gymorth cyfreithiol yn fwy fforddiadwy.

## Carchardai

Cymru sydd â'r gyfradd garcharu uchaf yng ngorllewin Ewrop, gydag un o bob 667 o bobl yn y wlad dan glo. Mae'r carcharu diwydiannol yn y DG wedi golygu fod pedwar o'r pum carchar yng Nghymru yn orlawn, sy'n arwain at ddirywiad mewn amodau i staff a charcharorion.

Un o'r dulliau mwyaf effeithiol o sicrhau adsefydlu carcharor yw eu cadw yn nes at eu cymuned a'u teuluoedd. Fodd bynnag, cedwir 39% o garcharorion Cymreig yn Lloegr, ac y mae 30% o lefydd mewn carchardai yng Nghymru ar gyfer carcharorion o Loegr. Yr ydym yn credu y dylai carcharorion fod mor agos ag sydd modd i'w cymunedau lleol.

Nid ydym yn credu mai arch-garchardai yw'r dull mwyaf effeithiol o wrthweithio troseddu na'r defnydd gorau o adnoddau. Dyna pam y gwnaethom wrthwynebu codi uwch-garchar y Berwyn yn Wrecsam a'r uwch-garchar arfaethedig ym Mhort Talbot y rhoddwyd y gorau iddo oherwydd ein gwrthwynebiad.

Gall dod i mewn i'r system cyfiawnder troseddol naill ai fod yn symptom neu'n achos problemau yn y tymor hwy. Ymysg y rhain mae digartrefedd, problemau iechyd meddwl a chamddefnyddio sylweddau. Yr oedd bron i 25% o garcharorion yn ddigartref pan aethant i'r carchar, fod gan dros 90% o garcharorion o leiaf un  o bum anhwylder seiciatryddol, a chafwyd cynnydd o 475% yn swm y cyffuriau a gafwyd mewn carchardai dros y flwyddyn a aeth heibio.

Mae tlodi ac afiechyd yn cael eu troi'n droseddau. Rhaid i hyn newid trwy sicrhau fod digon o gyllid i wasanaethau cefnogi a thrwy fynd i'r afael â'r problemau sylfaen a all arwain at droseddu.

Yn ôl ymchwil gan Ganolfan Llywodraethiant Cymru, mae pobl o gefndiroedd Du, Asiaidd, a Lleiafrifoedd Ethnig yn cael eu gorgynrychioli mewn carchardai a'r system cyfiawnder troseddol. Yn 2017, yr oedd pobl dduon wedi eu gorgynrychioli 4.5 gwaith yn y carchar, pobl Asiaidd yn cael eu gorgynrychioli 1.7 saith ac unigolion o grwpiau ethnig cymysg wedi eu gorgynrychioli 2.4 gwaith.



# Ymladd Troseddau

Bydd Plaid Cymru yn gweithredu yn llawn argymhellion Adolygiad Lammy i ymdrin â'r anghyfartaledd triniaeth a chanlyniadau i bobl dduon a rhai o leiafrifoedd ethnig yn y system cyfiawnder troseddol, ynghyd ag Adolygiad Angiolini i farwolaethau a digwyddiadau difrifol yn nalfeydd yr heddlu.

Mae menywod yng Nghymru yn cael tro gwael iawn gan y system cyfiawnder, gyda phob carcharor benywaidd o Gymru yn cael eu cadw yn un o'r deuddeg carchar i fenywod yn Lloegr. Mae hyn yn aml yn arwain at wahanu plant ifanc oddi wrth eu mamau, sy'n gwneud ymweliadau gan deuluoedd yn anodd. Hefyd, nid oes gwasanaethau yn Gymraeg o gwbl i fenywod yn y carchar.

Gall y troseddau a gyflawnir gan ddynion a menywod amrywio'n sylweddol. Mae troseddau menywod yn dueddol o fod yn llai difrifol, sy'n golygu eu bod yn derbyn dedfrydau byrrach. Yn 2016, yr oedd 74% o'r holl fenywod a ddedfrydwyd yn y carchar am lai na 6 mis.

Mae dedfrydau byr yn aml yn tarfu'n ddifrifol ar fywydau menywod a'u teuluoedd. A hefyd, mae menywod sy'n cwblhau dedfrydau byrion yn fwy tebygol o ail-droseddu na'r rhai a ddedfrydwyd i orchymyn llys.

Mae menywod hefyd yn cael eu hanfon i garchar yn amlach o lawer am ddwyn yn hytrach nac am droseddau treisgar. Yn aml, mae menywod yn dwyn i fwydo eu plant neu i dalu am gyffuriau i'w cymar. Yn ôl Ymddiriedolaeth Diwygio'r Carchardai, mae tua hanner y menywod wedi dioddef troseddau sy'n fwy difrifol na'r rhai a arweiniodd at eu carcharu hwy.

Byddwn yn defnyddio dedfrydau gohiriedig, trwy Checkpoint Cymru, i'r menywod hynny a gyhuddwyd o droseddau heb fod yn rhai treisgar, fyddai'n tarfu llai arnynt hwy a'u teuluoedd. Yn hytrach na bod yn 'feddal' ar fater troseddu, mae hyn yn unol â'r arfer gorau gan ei fod yn gostwng cyfraddau aildroseddu o gymharu â dedfrydau o gyfnodau byr mewn carchar.

Bydd Plaid Cymru yn cefnogi carchar unswydd, bychan neu ganolfannau diogel i garcharorion benywaidd yng Nghymru, er mwyn sicrhau mynediad at rwydweithiau cefnogi, gan ein bod yn derbyn y gall achlysuron godi lle mae cyfiawnhad dros ddedfryd o garchar a'i fod yn briodol.



# Ymladd Troseddau

## Trais Rhywiol

Amcangyfrifwyd bod un o bob pump menyw wedi profi rhyw fath o drais rhywiol ers iddynt fod yn 16 oed. Nid oes digon o adrodd o hyd am drais rhywiol, ac y mae Arolwg Troseddau Cymru a Lloegr yn amcangyfrif mai dim ond un o bob chwech o ddioddefwyr trais sy'n adrodd am hynny wrth yr heddlu.

Tair euogfarn yn unig am bob 100 achos o drais a gofnodwyd gan yr heddlu yng Nghymru a Lloegr llynedd. Er i nifer yr achosion honedig o drais a gofnodwyd gan yr heddlu gynyddu o 9%, cwympo wnaeth nifer y cyhuddiadau o 38%, erlyniadau o 33% ac euogfarnau o 27%.

Mae angen gwneud mwy i fynd i'r afael â'r drosedd erchyll hon, a byddwn ni yn cymryd agwedd amlddisgyblaethol ac yn gweithio ar draws nifer o sefydliadau. O oedran cynnar, fe fyddwn yn dysgu ein plant am berthynas o barch a chydsyniad mewn ysgolion lle gallant ddod i ddeall am yr hyn yw perthynas iach a'r hyn sy'n cael ei ganiatau. Byddwn hefyd yn lansio ymgyrch wybodaeth gyhoeddus i'w gwneud yn amlwg beth yn union yw cydsyniad, a mynd i'r afael â diwylliant o drais. I'r sawl sydd eisoes wedi cyflawni ymosodiadau rhywiol, fe wnawn yn siwr fod digon o arian ar gael i raglenni ar gyfer y troseddwyr hyn mewn carchardai a thimau'r gwasanaeth prawf, i leihau'r risg o weld troseddau fel hyn yn cael eu cyflawni eto yn y dyfodol.

Byddwn yn gwneud yn siwr fod gan yr heddlu, ynadon a rheithgorau wybodaeth gywir am sut i drin cwynion; lleiafrif bychan yn unig o achosion sy'n cyd-fynd â diffiniad y 'gwerslyfr' o drais, a rhaid i'r sawl sydd yn y system cyfiawnder troseddol sylweddoli y gall trais ddigwydd rhwng partneriaid neu'r rhai fu mewn perthynas yn y gorffennol.

I'r rhai ddioddefodd drosedd fel hyn, fe wnawn yn siwr fod Canolfannau Cyfeirio am Ymosodiadau rhywiol yn cael cyllid digonol a hyfforddiant digonol i'r gweithwyr proffesiynol yno. Byddwn hefyd yn gwneud yn siwr fod gwasanaethau cwnsela ar gael ac yn derbyn digon o arian, gan y gall dioddefwyr trais ddioddef o broblemau eraill o ran iechyd meddwl a chamddefnyddio cyffuriau ac alcohol, yn enwedig os ydynt yn troi at hyn fel ffordd o geisio ymdopi â'u profiadau.



# Ymladd Troseddau

## Troseddau cyllyll

Mae cynnydd mewn troseddau cyllyll wedi cyd-fynd â llymder, gan ei fod wedi cynyddu i lefelau nas gwelwyd o'r blaen, gyda 1,353 yn 2018, cynnydd o 23% ers y flwyddyn flaenorol. Mae hyn yn adlewyrchiad o effaith toriadau'r Toriaid i blismona yn San Steffan a thoriadau Llafur i lywodraeth leol yng Nghymru. Mae cyfanswm gwariant Llywodraeth Cymru ar waith ieuenctid wedi cwympo o dros £40m bum mlynedd yn ôl i £32m yn 2017-18.

Byddwn yn gweithio gyda chlybiau ieuenctid, cyrff llywodraethol chwaraeon, ysgolion, grwpiau cymuned, cyrff gwirfoddol a gweithwyr ieuenctid i wella gwasanaethau ieuenctid ac i beri bod gweithgareddau ffurfiol ac anffurfiol ar gael.

## Hiliaeth a Throseddau Casineb

Dylai pawb allu teimlo'n ddiogel a chael eu parchu yn eu cymunedau. Yng Nghymru, bydd Plaid Cymru yn gweithio gyda Chomisiynwyr Heddlu a Throsedd er mwyn gwneud yn siwr fod pob trosedd casineb - gan gynnwys troseddau casineb homoffobaidd, hiliol a gwrth-anabledd, a chamdriniaeth ar-lein - yn cael ei thrin o ddifrif gan heddluoedd Cymru a bod ymchwiliad go-iawn yn cael ei gynnal fel y gall dioddefwyr deimlo yn hyderus a diogel wrth adrodd am ddigwyddiadau.

Byddwn yn mynd ati i ymwneud â sbectrwm cynrychioliadol eang o gymunedau er mwyn sicrhau bod amrywiaeth barn yn cael ei chlywed a'i hystyried. Yn benodol, fe wnawn y canlynol:

- Gwrthweithio Islamoffobia, gwrth-Semitiaeth, teimladau yn erbyn mewnfudwyr a phob math o hiliaeth a rhagfarn mewn gwleidyddiaeth, ar ein strydoedd, arlein ac yn ein cyfryngau.
- Gweithio i gael mwy o gynrychiolaeth gan leiafrifoedd a menywod mewn gwleidyddiaeth a bywyd cyhoeddus.
- Ymdrin â'r heriau cymdeithasol-economaidd sylfaenol a wynebir gan gymunedau DLIE, gan gynnwys darparu cyllid ar gyfer gwersi Cymraeg a Saesneg, er mwyn annog integreiddio llwyddiannus i gymdeithas yng Nghymru.

# CYFANSODDIAD CYMRU

---

Cred Plaid Cymru y dylai Cymru ddod yn Aelod annibynnol o'r Undeb Ewropeaidd. Yr ydym eisiau ffurfio perthynas newydd ar sail cydraddoldeb gyda gwledydd eraill yr ynysoedd hyn. Bydd hyn yn fater o fwy o frys os bydd y DG yn gadael yr UE.

Ein nod yw cyrraedd yr amcanion hyn erbyn 2030, a chyn hynny os bydd amgylchiadau yn caniatau.

Yr ydym yn cydnabod y bydd cyrraedd yr amcanion hyn yn golygu nifer o gamau ar y ffordd; y cyntaf fydd i Blaid Cymru ffurfio Llywodraeth Cymru wedi etholiad y Senedd yn 2021.

## Datganoli Pellach

Yn ystod y cyfnod hwn, byddwn yn pwyso am ddatganoli pwerau cyllidol i'r Senedd, ynghyd â throsglwyddo'r pwerau dros gyfiawnder, datblygu economaidd, lles a diwylliant a gedwir yn ôl gan San Steffan ar hyn o bryd.

## Cyllid

Mae arnom angen mwy o bwerau ariannol i alluogi Llywodraeth Cymru i deilwrio trethiant a chyllid i gwrdd ag anghenion Cymru. Mae'r rhain yn cynnwys:

- Datganoli treth gorfforaeth fel yng Ngogledd Iwerddon.
- Datganoli Treth Teithwyr Awyr fel yn yr Alban a Gogledd Iwerddon.
- Neilltuo refeniw TAW i Gymru fel yn yr Alban.



# Cyfansoddiad Cymru

Mae benthyca gan Lywodraeth Cymru ar hyn o bryd wedi ei gyfyngu i £1bn dros bum mlynedd. Mae hyn yn rhy isel o lawer. Dylid caniatau i Gymru fenthyca i fuddsoddi hyd at £5bn dros bum mlynedd. Byddai hyn yn saff y tu mewn i'r canllawiau cyllidol a gynigiwyd gan y Ceidwadwyr a Llafur i'r DG gyfan.

## Cyfiawnder

Mae'r ddau adroddiad gan y Comisiwn ar Ddatganoli yng Nghymru, ynghyd â Chomisiwn Thomas ar *Gyfiawnder yng Nghymru i Bobl Cymru* wedi gwneud achos gref dros ddatganoli pwerau cyfiawnder i Gymru, creu awdurdodaeth gyfreithiol Gymreig a system gyfreithiol. Ynghyd â'r adnoddau angenrheidiol i wneud hyn, bydd y pwerau yn cynnwys:

- Plismona
- Cyfiawnder Troseddol a'r llysoedd
- Dedfrydu, Cymorth Cyfreithiol, Gwasanaeth Erlyn y Goron a'r Farnwriaeth
- Y Gwasanaeth Carchardai a'r Gwasanaeth Prawf

## Datblygu Economaidd

Ymysg y pwerau economaidd a gedwir yn ôl ar hyn o bryd gan San Steffan ac y dylid eu datganoli i alluogi Llywodraeth Cymru i ddatblygu strategaeth datblygu economaidd fwy dealladwy mae:

- Tâl y Sector Cyhoeddus
- Adnoddau naturiol
- Yr holl bwerau trwyddedu a goruchwylio ar gyfer manteisio ar adnoddau naturiol
- Stad y Goron
- Dŵr
- Porthladdoedd a harbyrau
- Asiantaeth Forol Gwylwyr y Glannau
- Rheolaeth lawn dros fasnachfraint rheilffyrdd Cymru a'r Gororau
- Gweithrediadau Network Rail yng Nghymru



# Cyfansoddiad Cymru

## Lles

Cafodd degawd o lymder effaith ddifrifol ar ein cymunedau tlotaf. Dyna pam ein bod yn pwyso am reolaeth lawn dros Gredyd Cynhwysol. Bydd hyn yn caniatau i ni, er enghraifft, wneud i ffwrdd yn barhaol â'r dreth ystafell wely, fel sydd ar y gweill yn yr Alban.

Mae Deddf Diwygio Lles Llywodraeth San Steffan 2012 a Deddf Lles a Gwaith 2016 wedi gwneud niwed enbyd i filoedd o bobl yng Nghymru. Ym mis Tachwedd 2018, canfu adroddiad gan rapporteur y CU ar dlodi eithafol fod tlodi yn y DG yn "systemaidd" ac yn "drychinebus" oherwydd y toriadau "ideolegol" dwfn i wasanaethau cyhoeddus ers 2010.

I fynd i'r afael â'r problemau sylfaenol hyn, bydd Plaid Cymru yn pwyso am ddatganoli pwerau lles er mwyn gallu trafod fframwaith cyllidol priodol ar gyfer pob achos. Buasent yn cynnwys:

- Taliadau Annibyniaeth Personol
- Lwfans Gofalwyr
- Lwfans Presenoldeb
- Lwfans Byw'r Anabl
- Taliadau Tanwydd y Gaeaf
- Taliadau Tywydd Oer
- Lwfans Anabledd Difrifol
- Budd-daliadau Anabledd Anafiadau Diwydiannol
- Taliadau Treuliau Angladd,
- Grant Mamolaeth Cychwyn Cadarn
- Taliadau Tai Dewisol

## Diwylliant

Bydd Plaid Cymru yn mynnu datganoli darlledu i'r Senedd fel y gallwn ddatblygu sector darlledu wedi'i wneud gan bobl Cymru, i bobl Cymru, ac yn atebol i bobl Cymru.

## Comisiwn Annibyniaeth

Ym mis Tachwedd 2019 sefydlodd Plaid Cymru Gomisiwn Annibyniaeth arbenigol, dan gadeiryddiaeth Jocelyn Davies, y cyn-Aelod o'r Senedd dros Ddwyrain De Cymru a chyn-Weinidog yn Llywodraeth Cymru'n Un.



# Cyfansoddiad Cymru

Rôl y Comisiwn yw paratoi'r ffordd ar gyfer Llywodraeth Plaid Cymru yn 2021. Bydd yn argymell y camau y bydd angen i ni eu cymryd i ennill annibyniaeth i Gymru yn y degawd sydd i ddod.

Y rhwystr mwyaf i annibyniaeth Cymru yw'r honiad na allwn ei fforddio, fod gwlad mor gyfoethog â Chymru mewn adnoddau naturiol a sgiliau a dychymyg ei phobl, rywsut yn rhy dlawd i fod yn annibynnol.

Yn y bôn, y rheswm pam fod cymaint o fwlch rhwng y trethi a godwn yng Nghymru, a'r arian yr ydym yn ei wario ar fudd-daliadau a gwasanaethau cyhoeddus, yw'r modd y mae ein heconomi wedi ei chamreoli gan un llywodraeth ganolog yn Llundain ar ôl y llall.

Mae arnom angen annibyniaeth yn unswydd er mwyn newid hynny.

Yn y cyfamser, mae angen i ni ddangos, hyd yn oed gyda'r pwerau cyfyngedig sydd gennym dan y setliad datganoli presennol, y gallwn ddechrau cau'r bwlch cyllidol. Bydd y Comisiwn Annibyniaeth yn cynnal dadansoddiad ac yn cynnig argymhellion ar bolisïau y dylai llywodraeth Plaid Cymru eu dilyn dros gyfnod o ddeng mlynedd er mwyn sicrhau bod bwlch cyllidol Cymru yn cau.

Bydd y Comisiwn Annibyniaeth yn mynd i'r afael â chwestiynau dilys fydd gan bobl am y modd y byddai Cymru annibynnol yn gweithio, ar bynciau megis arian cyfred, ffiniau, dyled genedlaethol y DG, a phensiynau.

Bydd y Comisiwn yn Llunio Cyfansoddiad Ysgrifenedig i Gymru annibynnol.

Bydd hefyd yn goruchwylio cynhyrchu drafft o Fesur Ymreolaeth. Deddfwriaeth ragbaratoawl fydd hon a gyflwynir gan Lywodraeth newydd Plaid Cymru yn 2021, gyda'r nod o baratoi ar gyfer y refferendwm ar annibyniaeth i Gymru a gynhelir cyn diwedd y ddegawd nesaf.

Bydd y ddeddfwriaeth a roddir mewn grym gan y Bil hwn yn galluogi llywodraeth Plaid Cymru i ymwneud â chroestoriad mor eang ag sydd modd o bobl a buddiannau, a bydd yn cynnwys creu sefydliad newydd gydag ysgrifenyddiaeth amser-llawn, i oruchwylio'r  broses fydd yn arwain at refferendwm; a chyfres o Gynulliadau Dinasyddion i roi gwybodaeth i bobl Cymru am y pynciau a'r cwestiynau eang a ddaw yn sgil y posibilrwydd o annibyniaeth.

# CYLLID A THRETHIANT

Y DG yw un o'r gwladwriaethau mwyaf anghyfartal yn Ewrop. Mae gan ranbarth gyfoethocaf y DG, Llundain Fewnol, GDP o 614% o gyfartaledd yr UE, o gymharu â rhanbarth dlotaf y DG, Gorllewin Cymru a'r Cymoedd, gyda GDP o 68% o gyfartaledd yr UE. Mae hyn yn gondemniad hallt o system ariannol sydd wedi tlodi Cymru er lles y dethol rai yn Llundain.

Mae naw o wledydd a rhanbarthau cyfredol y DG mewn diffyg cyson. Mae model economaidd a chyllidol presennol y DG yn fethiannus. Mae polisïau gan un llywodraeth y DG ar ôl y llall, Ceidwadol a Llafur, yn pwysleisio fod grym gwleidyddol ac economaidd yn Llundain a de-ddwyrain Lloegr, gyda buddsoddiad cyhoeddus yn cael ei ganoli'n anghymesur yn yr ardaloedd hynny ar draul gweddill y DG.

**Pan oedd yn llefarydd i ni ar y Trysorlys, defnyddiodd Jonathan Edwards o'r Blaid bob cyfle i dynnu sylw at yr anghydraddoldeb sydd wrth wraidd y Wladwriaeth Brydeinig, ac i frwydro dros degwch cyllidol i Gymru.**

**I ddechrau ymdrin â'r anghydbwysedd, cyflwynodd Jonathan Fesur Rheol Deng Munud yn San Steffan i geisio sefydlu Swyddfa Cyllid Teg, gyda rheidrwydd statudol i gyflwyno cydgyfeiriant cyfoeth daearyddol. Byddai'n ganolwr niwtral ac arbenigol mewn anghydfod fel y byddai Cymru ar yr un gwastad a Llundain a De-Ddwyrain Lloegr ar fater cyllido.**



# Cyllid A Threthiant

Mae angen i fuddsoddiad cyhoeddus fod â'r nod o ail-gydbwyso economi'r DG. Yr hyn sydd ei angen yw cyllid ychwanegol estynedig: i gymryd lle cyllid yr UE os bydd Brexit yn digwydd; i helpu i gynnal yr economi trwy dryblith Brexit ac, yn bwysig iawn, i sbarduno'r economi i wneud iawn am yr anghydbwysedd daearyddol cyfredol a hanesyddol. Dim ond trwy ddilyn strategaeth o'r fath y gellir gwireddu gwir botensial economaidd Cymru a gweddill y DG y tu allan i Lundain a de-ddwyrain Lloegr.

## Cyllid Teg i Gymru

Nid yw Fformiwla bresennol Barnett ar gyfer dosbarthu cyllid i'r cenhedloedd datganoledig wedi newid ers deugain mlynedd, ac nid yw'n addas at y diben. Gan ei bod wedi ei chlymu wrth fformiwla seiliedig ar boblogaeth, a honno wedi dyddio, cydnabyddir nad yw'n cwrdd ag anghenion. Cred Plaid Cymru y dylid cael Swyddfa Cyllid Teg yn ei lle, gyda rheidrwydd statudol i gyflwyno cydgyfeiriant cyfoeth daearyddol. Byddai'n ganolwr niwtral ac arbenigol mewn anghydfod.

## Buddsoddi Cyfalaf

Ers gormod o amser, dioddefodd Cymru a gweddill y DG o fuddsoddiad cyfalaf isel, a hyn yn ei dro yn arwain at gynhyrchedd isel a chyflogau isel. Ar lefel y DG dylai'r arian ar gyfer mwy o fuddsoddi cyfalaf fod yn 1 y cant yn ychwanegol o leiaf o GDP y flwyddyn (£20bn) am isafswm o ddeng mlynedd. Byddid yn talu am fuddsoddiad o'r fath trwy fenthyca mwy. Dylid neilltuo'r cyllid ar sail angen gydag o leiaf £1.5 bn yn ychwanegol y flwyddyn yn cael ei neilltuo i Gymru i dalu am y rhaglen fuddsoddi a osodir allan yn y maniffesto hwn.

## Cynyddu Refeniw

Cred Plaid Cymru y dylai pawb dalu cyfran deg o drethi fel y gallwn oll fanteisio ar wasanaethau cyhoeddus rhagorol o'r radd flaenaf. Mae hyn yn golygu bod yn rhaid i'r sawl sy'n ennill fwyaf - boed yn unigolion neu gwmnïau - wneud cyfraniad teg.



# Cyllid A Threthiant

Dyma'r mesurau treth a gynigiwn ni:

- Buasem yn gwrthdroi bwriad Llywodraeth Prydain i dorri treth gorfforaeth. Bydd canslo'r toriad arfaethedig o 19% i 17% sydd i fod i ddigwydd yn 2020–21 yn codi tua £5 biliwn.

- Dylid cyfyngu rhyddhad treth incwm ar gyfraniadau pensiwn i'r gyfradd safonol o 20 y cant. Byddai hyn yn codi refeniw ar draws y DG a amcangyfrifwyd gan y Sefydliad Astudiaeth Ariannol o £11.5bn y flwyddyn.

- Dylem gynyddu cyfradd y gweithiwr o Gyfraniadau Yswiriant Gwladol i drethdalwyr y gyfradd uwch a'r gyfradd ychwanegol o 2 y cant i 4 y cant, gan godi'r hyn a amcangyfrifwyd fel £2bn y flwyddyn.

O'u cymryd gyda'i gilydd bydd y tri mesur hyn yn codi £20bn y flwyddyn yn ychwanegol i dalu am wasanaethau cyhoeddus hanfodol. Felly, telir am fwy o wario ar wasanaethau o drethi ychwanegol, tra telir am fwy o fuddsoddi cyfalaf trwy fenthyca.

## Trafnidiaeth

Buasem yn dileu prosiect gwastraffus ac amgylcheddol niweidiol HS2. Nid yn unig y byddai hynny yn osgoi dinistrio cynefinoedd pwysig, byddai hefyd yn caniatau i ni fuddsoddi mewn seilwaith cludiant cyhoeddus yn decach ar draws y DG. Mae HS2 ar hyn o bryd yn llyncu traean o gefnogaeth Llywodraeth y DG i reilffyrdd (£2.1 biliwn o gyfanswm o £6.4 biliwn yn ystod 2017-18). Mae'n glir o adroddiadau a gyhoeddwyd ac a ryddhawyd heb awdurdod y bydd HS2 yn costio llawer mwy na'r £56bn a gynlluniwyd - hyd at £100bn ac efallai na fydd hyd yn oed yn cyrraedd y tu hwnt i  Birmingham. Nawr yw'r amser i roi stop ar y prosiect ffuantus hwn ac ailgyfeirio'r buddsoddiad at ardaloedd megis Cymru a gogledd Lloegr, sydd wir ei angen.

Mae Plaid Cymru yn gwrthwynebu codi trydydd rhedfa yn Heathrow. Er i Heathrow roi ffigwr o £14bn ar eu costau ehangu, dywed eraill y bydd y gwir ffigwr yn nes at £30bn.

Os aiff y prosiectau hyn yn Lloegr rhagddynt, er y byddant yn cael effaith ledled y DG, yna bydd Plaid Cymru yn mynnu cyllid ychwanegol i Gymru yn gyfran lawn, fel y'u pennwyd gan Fformiwla Barnett.



# Cyllid A Threthiant

## Amddiffyn

Mae Plaid Cymru yn gyson wedi gwrthwynebu cael arf newydd yn lle Trident am ei fod yn arswydus o wastraffus a pheryglus. Disgwylir i rywbeth yn lle Trident gostio o leiaf £205 biliwn (ffigyrau CND o 2018). Byddwn yn rhoi'r gorau i'r gwastraff arian hwn, fel bod modd buddsoddi arian mewn gwasanaethau cyhoeddus a seilwaith.

# AMGYLCHEDD A NEWID HINSAWDD

## Bioamrywiaeth

Mae colli a dirywio cynefinoedd ar draws Cymru mor amlwg i ni bellach a newid hinsawdd. Rhaid i ni weithredu'n gyflym ac yn benderfynol os ydym am atal effeithiau'r argyfwng ecolegol ar ein bywyd gwyllt, a gweld dechreuadau adfer. Mae hyn yn galw am weithredu ledled y byd ac yn nes at adref.

Bydd Plaid Cymru yn cyflwyno deddfwriaeth i fynd i'r afael ag argyfwng difodiant, gan roi rheidrwydd cyfreithiol ar y llywodraeth hon a rhai'r dyfodol i weithredu i adfer natur. Ymhellach, fe fyddwn yn sicrhau prosesau llywodraethiant cadarn ac annibynnol i gynnal y gyfraith a sefyll dros yr amgylchedd.

Byddwn yn cefnogi mwy o drosi i systemau ffermio organig a dulliau cynaliadwy eraill.

Byddwn yn datblygu cynlluniau ar gyfer ynni adnewyddol sydd yn mynd law yn llaw â natur trwy nodi safleoedd ecolegol gynaliadwy ar gyfer datblygu ynni gwynt ar dir a môr, yn ogystal â mannau posib ar gyfer datblygu ynni solar ac ynni'r llanw. Dyma fydd conglfaen ein 'Atlas Ynni Cymreig'. Bydd yn dangos lle byddai gwahanol fathau o adnoddau ynni yn cael yr effaith ecolegol lleiaf, yn ogystal â safleoedd posib ar gyfer ailddatblygu natur a'i gadw.



# Amgylchedd A Newid Hinsawdd

## Colli Coedwigoedd Ledled y Byd

Er mai coedwigoedd yw ysgyfaint ein planed, maent yn cael eu hanrheithio ledled y byd yn frawychus o gyflym. Mae gan Gymru ran i'w chwarae i wrthwynebu'r duedd. Byddwn yn:

- Deddfu i roi terfyn ar fewnforio nwyddau sydd wedi achosi datgoedwigo.
- Buddsoddi mewn Cymorth Datblygu Tramor sy'n cefnogi trosi i ffermio cyfeillgar i'r ecoleg.
- Mynnu bod olew palmwydd a fewnforir yn dod o ffynonellau cynaliadwy.
- Gwahardd mewnforion soy, cig eidion a chynhyrchion amaeth eraill sy'n dod o dir a ddatgoedwigwyd yn anghyfreithlon.

## Amddiffyn ein Moroedd

Mae Plaid Cymru yn cefnogi Cytundeb cryf gan y CU ar Gefnforoedd y Byd a all greu rhwydwaith o lochesi'r eigion fydd yn lledaenu dros o leiaf 30% o'r cefnforoedd erbyn 2030. Dylai hyn olygu moratoriwm yn syth ar gloddio yn nyfnderoedd y môr. Dylid atal pob gweithgaredd pellach yng nghontractau cloddio'r DG.

## Masnach Ryngwladol

Dylai cytundebau masnach yn y dyfodol a drefnir gan y DG, boed yn yr UE neu'r tu allan, gynnal a gwella safonau amgylcheddol, lleihau ôl troed amgylcheddol masnach, gwneud telerau masnachu yn benodol ddarostyngedig i ymrwymiadau amgylcheddol a hawliau dynol. Dylid cael mesurau penodol i warchod ecosystemau a chynefinoedd hanfodol y byd megis yr Amason, ac i bobl frodorol.



# Amgylchedd A Newid Hinsawdd

## Gweinidog y Dyfodol

Mae Plaid Cymru yn bwriadu sefydlu Gweinyddiaeth newydd i'r Dyfodol. Yn y Senedd, mae gennym eisoes Weinidog cysgodol unswydd ar gyfer y Dyfodol. Yn ogystal â bwrw golwg ar yr amgylchedd polisi bras, tasg y Gweinidog fydd cymryd golwg yn y tymor hir ar ein hamgylchedd, gyda'r cyfrifoldeb canlynol:

- Sicrhau fod Cymru yn trosi i economi carbon isel sy'n gyfeillgar i natur.
- Datblygu pecyn o ddiwygiadau amgylcheddol a chyllidol i helpu'r trosiant i economi fwy gwyrdd.
- Annog buddsoddi gan y sector preifat mewn technolegau gwyrdd newydd.

## Creu Cymunedau Cynaliadwy

Rydym eisiau i Gymru chwarae ein rhan i arwain y byd mewn trosiant cyfiawn i gymunedau cynaliadwy. Y cam cyntaf yw sicrhau datganoli'r holl gyfrifoldebau dros ein hadnoddau naturiol, megis Stadau'r Goron, Ofgem a'r Grid Cenedlaethol, fel bod y pŵer i weithredu yn nwylo pobl Cymru, trwy ein Senedd a etholwyd yn ddemocrataidd.

## Lliniaru Carbon

Bydd ein polisi ynni yn anelu at sicrhau fod ein hadnoddau'n cael eu defnyddio yn gynaliadwy, trin llygredd, datblygu swyddi yn yr economi ôl-garbon a chynyddu ein hannibyniaeth ynni.

Byddwn yn buddsoddi mewn cael a datblygu prosiectau cynhyrchu a storio ynni ar raddfa fawr trwy ein chwyldro adnewyddol ac yn rhoi cefnogaeth i fentrau ynni cymunedol. Bydd Plaid Cymru yn comisiynu rhestr eiddo cenedlaethol o botensial ynni gwyrdd yng Nghymru, fel "Atlas Ynni i Gymru", a fydd yn nodi mannau lle caiff datblygiadau yr effaith ecolegol leiaf.



# Amgylchedd A Newid Hinsawdd

Bydd Plaid Cymru yn cynyddu perchenogaeth gymunedol o ynni adnewyddol i gadw mwy o'r buddion yn lleol. Byddwn yn:

- Sefydlu asiantaeth ynni genedlaethol, Ynni Cymru, gyda'r dasg o wireddu potensial ynni gwyrdd Cymru.
- Llawn wireddu potensial ynni'r môr gan gynnwys ynni'r tonnau, y llanw a ffrwd llanw.
- Ceisio gwaharddiad llwyr ar ffracio a glo brig newydd.
- Gwrthwynebu datblygu safleoedd newydd ar gyfer gorsafoedd niwclear.
- Gwrthwynebu'r defnydd o beilonau trwy Barciau Cenedlaethol ac Ardaloedd o Harddwch Naturiol Eithriadol, gan hyrwyddo'r defnydd o geblau dan y môr a'r ddaear i gludo trydan lle bo modd.

## Cynyddu Coetiroedd

I wneud ein cyfraniad i fynd i'r afael â newid hinsawdd, rhaid i ni gynyddu yn gynaliadwy yr erwau o goedwigoedd Cymru. Ers i Gyfoeth Naturiol Cymru ysgwyddo'r cyfrifoldeb dros goedwigaeth yn 2013, plannwyd coetiroedd newydd o lai na 1,000 hectar y flwyddyn, ac mewn rhai blynyddoedd, bu'n llai na 500 hectar. Dylem anelu at isafswm cyfradd blannu o 2,000 hectar y flwyddyn o 2020, targed a argymhellwyd gan Bwyllgor newid Hinsawdd y DG.

Byddwn yn archwilio'r achos dros sefydlu mudiad coedwigaeth unswydd i ddelio â'r dasg frys o ymdrin â'r argyfwng hinsawdd trwy blannu mwy o goed. Byddwn yn sicrhau bod cysylltiad agos yn y polisi hwn â chymhellion amaeth-amgylcheddol i ffermwyr. Nid yn unig y mae cynyddu ein coetiroedd brodorol yn chwarae rhan fawr o ran dal carbon, ond y mae hefyd yn cynnig nifer o fanteision eraill gan gynnwys rheoli llifogydd, darparu cynefinoedd i fywyd gwyllt, gwella ansawdd ein tirwedd, a chreu cynhyrchion coed defnyddiol.

**Tra'r oeddent yn ASau, derbyniodd tîm Plaid Cymru radd 100% yn nadansoddiad y Guardian o record Asau ar 16 pleidlais ddangosol ar yr hinsawdd rhwng 2008 a 2018, sy'n adlewyrchu ein cefnogaeth i dargedau hinsawdd uchelgeisiol tymor-hir**



# Amgylchedd A Newid Hinsawdd

## Awyr Lân

Amcangyfrifir fod llygredd aer yn cyfrannu at 2,000 marwolaeth y flwyddyn yng Nghymru. Byddwn yn gweithredu Deddf Awyr Lân i Gymru er mwyn:

- Creu parthau awyr lân yn ein trefi a'n dinasoedd.
- Rhoi hawl i gymunedau i osod offer monitro llygredd y tu allan i ysgolion ac ysbytai.
- Galluogi awdurdodau lleol i gyflwyno taliadau llygredd a thagfeydd.
- Gosod cynllun cenedlaethol a rhanbarthol i leihau llygredd aer yng Nghymru.
- Diwygio cyfreithiau cynllunio i fynnu bod mwy o bwysau ar lygredd aer yn y system gynllunio.
- Cyflymu'r trosiant i system drafnidiaeth trydan fel bod ceir petrol a disel yn dirwyn i ben erbyn 2030.

## Lleihau Gwastraff Plastig

Byddwn yn mynd i'r afael a phroblem gwastraff plastig trwy wahardd plastig untro, datblygu dewisiadau cynaliadwy a chodi targedau ailgylchu. Bydd Plaid Cymru yn gosod Cymru ar flaen yr economi gylchol a sicrhau Cymru Dim Gwastraff 2030 trwy gyfuniad o ddeddfwriaeth a mentrau polisi, megis Cynlluniau Blaendal Dychwelyd, mwy o gyfrifoldeb ar y cynhyrchwyr a defnyddio cyfreithiau cynllunio, ardrethi a phwerau trethu.

## Atal Llifogydd

Byddwn yn rhoi mwy o bwyslais ar atal llifogydd mewn canllawiau cynllunio, gan gydnabod y bydd newid hinsawdd yn gwneud llifogydd difrifol yn fwy tebygol yn y dyfodol. Byddwn yn buddsoddi mewn gwaith ataliol i leihau llifogydd newydd ac yn yr un mannau ar draws Cymru, defnyddio technegau rheoli tir megis plannu coetiroedd newydd i reoli cadw dŵr yn yr ucheldir ac atal dŵr rhag llifo ymaith.



# Amgylchedd A Newid Hinsawdd

## Rhwydwaith Wefrio Cerbydau Trydan

Byddwn yn buddsoddi mewn rhwydwaith cenedlaethol o wefrio cerbydau trydan ledled Cymru, i gychwyn y trosiant tuag at fflyd hollol drydan o gerbydau'r sector cyhoeddus a mwy o ddefnydd o gerbydau trydan preifat. Ar hyn o bryd, mae wyth sir yng Nghymru gyda'r nifer isaf o bwyntiau gwefrio ceir fesul unigolyn ar hyd Prydain. Mae gan Gaerdydd 45 pwynt gwefrio cyhoeddus, o gymharu â 112 yng Nghaeredin a 258 yn Milton Keynes. Heb ymyriad cyhoeddus, gadewir Cymru ar ôl yn y chwyldro sydd ar y gweill gyda cheir trydan

## Cynllun Gwobrwyo am Feiciau

Bydd Plaid Cymru yn cyflwyno cynllun gwobrwyo am feiciau, i annog pobl allan o'u ceir ac ar eu beiciau. Bydd hyn yn arwain at leihad sylweddol mewn tagfeydd, a hwb i iechyd a lles.

Byddwn yn datblygu cynllun lle mae cyfranogwyr yn cael eu talu am bob milltir maent yn seiclo i'r gwaith, fel yn yr Iseldiroedd. Byddai hyn yn mynd law yn llaw â gwelliannau sylweddol i seilwaith beicio, gwneud beicio yn fwy diogel a phleserus i blant a defnyddwyr achlysurol beiciau. Byddai'n cynnwys gwelliannau ledled y wlad i lwybrau beicio, datblygu ffyrdd beicio i gysylltu canolfannau economaidd a cherbydau trenau gyda digon o le i feiciau.



# BWYD, AMAETHYDDIAETH A PHYSGOTA

## Bwyd

Mae sector bwyd a diod Cymru yn hanfodol i ffyniant ac iechyd cymunedau ledled Cymru. Mae'r gadwyn gyflenwi bwyd yn werth £7 biliwn i economi Cymru, tra bod y diwydiant bwyd a diod yn cyflogi rhyw 240,000 o bobl. Byddwn yn ceisio creu marchnad ddomestig gryfach i fwyd, ar sail gallu prosesu cadarnach, gyda chefnogaeth polisiau caffael cyhoeddus pendant. Byddwn hefyd yn amddiffyn ac yn tyfu'r brand Cymreig, gan adeiladu ar y safonau amgylcheddol a lles anifeiliaid uchaf. Yr ydym yn cefnogi Cymru'n rhydd o GMO a pharhau â'r moratoriwm ar gnydau GMO yn yr UE.

Bydd Plaid Cymru yn brwydro am bwerau llawn i'r Senedd dros labelu bwyd. Byddai hyn yn caniatau i ni adeiladu ar y brand Cymreig a'i gyfoethogi, ac yn ychwanegu gwerth at ein cynnyrch Cymreig sydd ag enw da ledled y byd.

Bydd ASau Plaid Cymru hefyd yn ceisio sicrhau bod unrhyw gytundebau masnach yn y dyfodol yn sicrhau dynodiadu daearyddol i fwydydd Cymreig allweddol fel cig oen ac eidion Cymru, Halen Môn, tato cynnar Sir Benfro, Cregyn Gleision Conwy, Ham Caerfyrddin a Gwin Cymru.

## Amaethyddiaeth

Ffermio yw asgwrn cefn cymunedau gwledig ar draws Cymru ac y mae amaethyddiaeth yn sector pwysig o ran economi ehangach Cymru. Ar hyn o bryd, mae ymhell dros hanner incwm ffermwyr Cymru yn dod o'r taliadau uniongyrchol maent yn dderbyn trwy Bolisi Amaethyddol Cyffredin yr UE. Mae taliadau uniongyrchol yn rhoi sefydlogrwydd a sicrwydd i ffermwyr ac y maent yn hanfodol o ran sicrhau hyfywedd ffermydd Cymru a'r economi wledig yn ehangach.



# Bwyd, Amaethyddiaeth A Physgota

Mae Llywodraeth Lafur Cymru yn bwriadu dirwyn taliadau uniongyrchol i ben os byddwn yn gadael yr UE, a fyddai'n cael effaith andwyol ar yr economi wledig a gwead cymunedau gwledig. Bydd llywodraeth Plaid Cymru yn cadw'r cynllun taliadau uniongyrchol. Gallwn hefyd warchod y cyllid hwn i ffermwyr Cymru trwy aros yn yr UE.

Mae'r etholiad cyffredinol hwn wedi creu mwy o ansicrwydd ynghylch Brexit, oherwydd cyn iddo gael ei alw, yr oedd yn rhaid i lywodraeth y DG warantu taliadau tan derfyn tymor y Senedd honno, sef 2022.

Cred Plaid Cymru fod angen gwneud mwy i fynd i'r afael â TB buchol. Dengys profiad gwledydd eraill fod yn rhaid i ni fod yn fwy effeithiol wrth drin TB mewn bywyd gwyllt os am reoli'r sefyllfa. Y mae tystiolaeth o astudiaeth Downs yn ddiweddar yn tanlinellu'r cyfraniad y gall dileu moch daear gael ar ddigwyddiadau TB buchol, a dyna pam fod Plaid Cymru yn credu bod yn rhaid i hyn fod yn rhan o'r ateb yng Nghymru.

Mae Plaid Cymru yn galw am ddatganoli pwerau sy'n ymwneud ag ymosodiadau gan gŵn ar dda byw. Yng ngogledd Cymru yn unig, cofnodwyd 449 achos o ymosodiadau gan gŵn rhwng 2013 a 2017. Yn ogystal ag achosi loes i anifeiliaid, maent yn faich ariannol trwm ar ffermwyr. Mae'r pedwar darn o ddeddfwriaeth bresennol ar ymosodiadau ar dda byw wedi dyddio, ac nid ydynt yn gydnaws ag arferion amaethyddol heddiw na difrifoldeb y drosedd. Mae angen datganoli a newid mewn deddfwriaeth er mwyn gofalu bod difrifoldeb y drosedd hon yn cael ei ddeall, a bod gan heddluoedd Cymru y pwerau i olrhain y troseddwyr a delio â hwy yn iawn.

## Pysgota

Mae sector pysgod a physgod cregyn Cymru yn werth £25 miliwn i Gymru sydd yn allforio 90% o'r cynnyrch, llawer ohono i'r UE. Pysgod cregyn a ddelir yn bennaf, ac y maent yn cael eu hallforio'n fyw i'r cyfandir neu ymhellach trwy gytundebau masnach yr UE. Mae pysgodfeydd Cymru, cynhyrchwyr amaeth y môr a chadwyni cyflenwi bwyd môr yn arbennig o agored i unrhyw rwystrau wrth gludo eu cynnyrch. Byddai unrhyw dariffau neu rwystrau eraill heb fod yn dariffau yn cael effaith ofnadwy ar eu hyfywedd.

Mae'r fasnach ddirwystr felly sydd yn un o fanteision aelodaeth o'r UE yn hanfodol. Bydd aros yn yr UE yn helpu i amddiffyn dyfodol ein teuluoedd pysgota.

# LLES ANIFEILIAID

Gall Cymru arwain y ffordd o ran gwarchod anifeiliaid a sicrhau safonau uchel o les anifeiliaid. Credwn y dylid cael dedfrydau llymach i bobl sydd yn camdrin anifeiliaid ac y dylid cael Cofrestr Camdrin Anifeiliaid i Gymru.

## Deddfwriaeth newydd

Mae Plaid Cymru yn cefnogi cyflwyno deddfwriaeth newydd i reoleiddio gwerthu anifeiliaid anwes arlein, fel bod yr anifeiliaid yn cael eu hamddiffyn.

Mae primatiaid yn anifeiliaid deallus a chymdeithasol gymhleth, ac yn ein barn ni, nid yw'n foesol eu cadw fel anifeiliaid anwes. O'r herwydd, fe wnawn gyflwyno deddfwriaeth newydd i wahardd yn llwyr gadw primatiaid fel anifeiliaid anwes.

Byddwn yn gweithredu argymhellion Pwyllgor Dethol Amgylchedd, Bwyd a Materion Gwledig Senedd San Steffan ar roi terfyn ar ddeddfwriaeth benodol i fridiau, gan nad yw'n gwarchod y cyhoedd ac y mae'n arwain at ddifa cannoedd o gŵn yn ddiangen.

Byddwn hefyd yn cyflwyno rheoleiddwr niwed arlein gyda'r grym i fynnu bod darparwyr cyfryngau cymdeithasol yn peidio â rhannu cynnwys ar eu llwyfannau sy'n dangos creulondeb i anifeiliaid.

Byddwn yn sicrhau bod unrhyw fewnforion mewn cytundebau masnach yn awr ac yn y dyfodol yn gydnaws â safonau lles anifeiliaid Cymreig ac yn y DG, er mwyn cynnal ein safonau uchel presennol a rhoi maes chwarae gwastad i'n ffermwyr ni a ffermwyr mewn rhannau eraill o'r byd.

Byddwn yn cryfhau deddfwriaeth yn erbyn mewnforio cŵn bach yn anghyfreithlon er mwyn tynhau bylchau mewn deddfwriaeth sy'n cael eu hecsploetio gan gangiau o droseddwyr.



# Lles Anifeiliaid

## Brexit

Daw 80% o ddeddfwriaeth lles anifeiliaid o gyfraith yr UE ar hyn o bryd. Allwn ni ddim ymddiried yn llywodraeth San Steffan ar fater lles anifeiliaid. Fel aelodau o'r UE, gall gwledydd fabwysiadu rheolau llymach na rhai yn neddfwriaeth lles anifeiliaid yr UE, sy'n gosod isafswm safonau. Fodd bynnag, bu Llywodraeth y DG yn gyndyn o fynd ymhellach nac isafswm yr UE dros y blynyddoedd diwethaf, gan ofni y byddai hyn yn gwanhau natur gystadleuol y DG.

Os gadawn yr UE, bydd y DG yn ceisio taro bargeinion masnach gydag economïau sydd yn llawer mwy na'i un hi - gwledydd megis UDA sydd â safonau lles anifeiliaid llawer is na rhai'r UE. Bydd yn gwneud hynny o sefyllfa wan.

Bydd Plaid Cymru yn mynnu bod cytundebau masnach yn y dyfodol yn ceisio cryfhau yn hytrach na gwanhau deddfwriaeth lles anifeiliaid. Fodd bynnag, y ffordd orau o sicrhau gwarchod lles anifeiliaid yw atal Brexit, gan adael i ni adeiladu ar y sylfeini a roddir gan gyfreithiau'r UE.



# YR IAITH GYMRAEG

Mae Plaid Cymru eisiau Cymru wir ddwyieithog lle gall y dinasyddion ddewis pa iaith i'w defnyddio yn eu bywydau bob dydd. Mae cefnogaeth eang i'r nod o gael miliwn o siaradwyr Cymraeg erbyn 2050. Mae rôl allweddol i'r system addysg i greu'r twf sydd ei angen ac i wneud rhuglder yn ein dwy iaith genedlaethol yn norm.

I wneud hyn, rhaid i ni gynyddu'n sylweddol nifer y siaradwyr Cymraeg ym mhob cwr o'r wlad a sicrhau bod gan siaradwyr y cyfle i ddefnyddio'r iaith lle bynnag y mynnant. Rydym eisiau annog mwy o ddefnydd o'r Gymraeg yn y gweithle, yn y sectorau cyhoeddus a phreifat a'r trydydd sector, ac mewn llywodraeth. Byddwn yn defnyddio contractau caffael a phrentisiaethau i hybu'r defnydd o'r Gymraeg.

Mae'r iaith Gymraeg yn perthyn i bawb yng Nghymru ac y mae'n bwysig i bawb gael y cyfle i ddod yn ddwyieithog. Byddwn yn peri bod mwy o addysg Gymraeg ar gael o oed meithrin, i addysg bellach ac uwch, yr holl ffordd at addysg oedolion. Byddwn yn sicrhau system addysg o'r radd flaenaf sydd yn wirioneddol ddwyieithog, gan roi cyfle i bawb ddysgu trwy gyfrwng y Gymraeg.

Byddai Deddf Addysg Gymraeg yn sicrhau fod gan bawb yng Nghymru yr hawl i dderbyn addysg cyfrwng Cymraeg. Trwy'r ddeddf hon, bydd Plaid Cymru yn gofalu bod gan ein dinasyddion yr hawl i ddatblygu sgiliau yn yr iaith ar bob lefel yn ogystal â chael yr hawl i dderbyn addysg Gymraeg beth bynnag fo oedran neu gefndir rhywun.

Bydd Plaid Cymru yn cadw swydd Comisiynydd y Gymraeg, gan sicrhau bod y Comisiynydd yn canolbwyntio yn bennaf ar weithgareddau sy'n ymwneud a gosod a rheoleiddio Safonau'r Iaith Gymraeg. Byddid yn cyflwyno safonau newydd cadarn ym maes iechyd, gan sicrhau'r hawl i dderbyn gwasanaethau wyneb yn wyneb trwy gyfrwng y Gymraeg.



# Yr Iaith Gymraeg

Byddwn yn sefydlu mudiad â statws uchel, naill ai hyd braich neu wedi ei wreiddio yn Llywodraeth Cymru. Bydd gan y corff hwn gyfrifoldeb dros gynllunio iaith cynhwysfawr, hyrwyddo a hwyluso'r iaith yn y gymuned, a bydd ganddo'r grym i lywio datblygu polisi ar draws pob adran a lefel o lywodraeth.

Byddwn yn creu Asiantaeth Economaidd fydd yn gyfrifol am ddatblygu economi siroedd gorllewin a gogledd-orllewin Cymru. Fel un o ranbarthau tlotaf Ewrop, mae gwella ei ffyniant yn hanfodol i fod yn sail i iaith a diwylliant Cymru.

Mae'n hanfodol hefyd fod siaradwyr Cymraeg yn gallu cyrchu a defnyddio'r byd digidol yn Gymraeg, fel nad ydynt yn cael eu heithrio o gymdeithas sy'n gynyddol ddigidol. Mae gwaith arloesol eisoes yn cael ei wneud yng Nghymru a bydd Plaid Cymru yn cefnogi'r gwaith hwn, gan gynnwys sefydlu Menter Iaith Ddigidol er mwyn gwneud yn siwr ein bod yn ymdrin â phroblem rhwystrau digidol i'r iaith.



# DIWYLLIANT A'R CYFRYNGAU

Bydd Plaid Cymru yn gosod celfyddyd, diwylliant ac iaith ynghyd â chwaraeon - sydd oll yn rhannau hanfodol bwysig o'n traddodiad cymdeithasol a'n ffordd o fyw - wrth galon ein holl bolisiau, o gyllid llywodraeth leol trwodd at iechyd ac addysg a'n polisiau Ewropeaidd. Bydd creadigrwydd, arloesedd ac ymdeimlad o le yn hollbwysig i lwyddiant unrhyw economi yn yr 21fed ganrif, ac y maent hefyd yn dwyn budd cymdeithasol enfawr o ran lles a chydlynu cymunedau.

Byddwn yn cadw mynediad am ddim i amgueddfeydd, yn creu Llyfrgell Ddigidol Genedlaethol i Gymru, ac yn gweithio gydag Amgueddfeydd Cenedlaethol Cymru i greu Oriel Genedlaethol unswydd i Gelf Gyfoes.

Yr ydym yn cydnabod fod gan Gymru lai o wyliau banc nac unrhyw genedl arall bron yn yr UE. Bydd Plaid Cymru yn gwneud Mawrth 1 yn ŵyl banc Dydd Gŵyl Dewi cenedlaethol yng Nghymru.

Mae Plaid Cymru am ddatganoli darlledu fel y gallwn greu maes chwarae gwastad gyda phob cenedl arall yn y DG a rhoi'r grym i Gymru benderfynu ar ei pholisi cyfryngau a darlledu ei hun. Mewn llywodraeth, fe fyddwn yn hybu cyfryngau Cymreig sy'n cynrychioli pobl Cymru a'r hyn sy'n bwysig iddynt hwy.

# CYDRADDOLDEB



Cred Plaid Cymru mewn cymdeithas deg a chyfiawn lle mae pawb yn cael ei drin yr un fath ac yn mwynhau'r un hawliau, waeth beth fo'u rhyw, ethnigrwydd crefydd neu gyfeiriadedd rhywiol. Yn erbyn cefndir Plaid Geidwadol sydd yn benderfynol o danseilio Deddf Iawnderau Dynol, byddwn yn cyhoeddi siarter hawliau dynol i Gymru i amddiffyn aelodau mwyaf bregus ein cymunedau. Byddwn hefyd yn ceisio datganoli'r cyfrifoldeb dros ddeddfwriaeth cydraddoldeb i Gymru.

Mae Plaid Cymru yn deall, er gwaethaf y cynnydd sylweddol a wnaed, fod menywod ar gyfartaledd yn cael eu talu ar gyfraddau is yr awr na dynion am waith o'r un gwerth a'u bod yn fwy tebygol o fod mewn gwaith rhan-amser neu gael eu tangyflogi.

Yr ydym wedi ymrwymo i annog cyfranogiad llawn a chyfartal menywod yn yr economi trwy derfynu gwahaniaethu ar sail rhyw yn y gweithle a mabwysiadu patrymau gweithio mwy hyblyg. Bydd ein polisi o ddarparu 40 awr o addysg a gofal plant am ddim i blant dros flwydd oed yn sicrhau fod gan rieni y dewis o ddychwelyd i waith ac arbed cost gofal plant.

Bydd Llywodraeth Plaid Cymru yn hyrwyddo pob gyrfa fel rhai agored i ddynion a menywod. Byddwn yn cefnogi menywod a genethod i ddilyn gyrfaoedd mewn ardaloedd twf allweddol, yn enwedig mewn meysydd STEM (Gwyddoniaeth, Technoleg, Peirianneg a Mathemateg). Byddwn yn creu cynlluniau mentora i weld mwy o fenywod mewn galwedigaethau llai traddodiadol a swyddi uwch a gwneud genethod yn fwy ymwybodol o'r holl wahanol lwybrau sydd ar gael iddynt. Byddwn hefyd yn cyflwyno byrddau rheoli cytbwys o ran rhyw mewn mudiadau sy'n derbyn arian Llywodraeth Cymru.



# Cydraddoldeb

Bydd Plaid Cymru yn ymdrin ag effaith toriadau o achos llymder i wasanaethau i fenywod sydd wedi dioddef trais neu gamdriniaeth yn y cartref ac yn sicrhau y parheir i gefnogi grwpiau ymylol a bregus mewn cymdeithas.

Credwn fod angen clywed lleisiau a phrofiadau LGBTQI+ a'u cadarnhau. Wedi sicrhau cyllid i Glinig Hunaniaeth Rhywedd yn ddiweddar, bydd Plaid Cymru yn gweithio i wella'r ddarpariaeth a sicrhau y gellir cyrchu'r gwasanaeth yn rhwydd ac mewn da bryd. Bydd gofyn i ysgolion yng Nghymru gadw cofrestr o ddigwyddiadau bwlio cysylltiedig â rhywioldeb, a gweithredu lle bo angen a dwyn i mewn fyfyrwyr i fentrau gwrth-fwlio. Byddwn yn hyrwyddo cyfranogiad pobl LGBT mewn chwaraeon, fel rhan o ymdrechion ehangach tuag at ddulliau mwy iach o fyw, a gweithio gyda chlybiau a mudiadau i leihau ymddygiad homoffobaidd, trawsffobaidd a rhywiaethol.

Er ein bod yn credu y dylid annog pobl anabl i waith, a'u cefnogi yno, nid ydym yn credu ei bod yn briodol mynnu fod pobl anabl yn wynebu'r un oblygiadau a bygythiadau o gosb wrth chwilio am waith. Byddwn yn sefydlu cynlluniau cyflogaeth gwarchod i'r bobl hynny sydd angen amgylchedd fwy cefnogol i ddychwelyd i waith, fel cam tuag at gyfranogi'n llawn mewn gwaith, a byddwn yn gweithio gyda chyflogwyr achrededig i greu cynlluniau o'r fath.

Byddwn yn sicrhau bod awdurdodau lleol a landlordiaid cymdeithasol yn darparu tai am oes a rhai mwy addas i bobl anabl, wedi eu haddasu at anghenion pobl. Bydd gan bob ysgol fynediad addas i ddisgyblion ag anableddau corfforol. Byddwn yn gwneud yn siwr fod gwell cefnogaeth ar gael i bobl ag anableddau dysgu, gan gynnwys cynyddu nifer y nyrsys arbenigol mewn ysbytai i fynd i'r afael ag anghydraddoldeb mewn darparu gwasanaethau iechyd.

Mae Plaid Cymru wedi ymrwymo i weithio gyda phobl ddall, gwan eu golwg a byddar a'r rhai sy'n colli eu clyw, y mudiadau sy'n eu cynrychioli, a gweithwyr proffesiynol, i ddatblygu'r strategaethau cenedlaethol i sicrhau mynediad cyfartal ac unedig at y gwasanaethau.

Bydd Plaid Cymru yn cefnogi diwygio'r Ddeddf Cydnabod Rhywedd i gyflwyno proses  lyfnach nad yw'n seiliedig ar feddygaeth. Byddwn yn cefnogi ymdrechion i ddiwygio Deddf Cydraddoldeb i gynnwys 'hunaniaeth rhywedd' fel nodwedd warchodedig a symud y defnydd o'r termau 'ailgyfeirio rhywedd' a 'thrawsrywiol' o'r Ddeddf.



# Cydraddoldeb

## Gofalu am Deuluoedd Newydd a Rhai ar eu Prifiant

Cred Plaid Cymru y dylid cefnogi rhieni i waith ac i gymryd cyfnodau i ffwrdd sydd yn adlewyrchu arferion gwaith modern, gan gynnwys gweithio hyblyg. Gyda Brexit yn fygythiad gwirioneddol i hawliau gweithwyr, mae Plaid Cymru yn ymrwymo i amddiffyn hawl menywod beichiog a mamau newydd trwy gefnogi gwaharddiad cyfreithiol ar gyflogwyr rhag diswyddo menyw trwy gydol beichiogrwydd, ac eithrio dan amgylchiadau eithriadol iawn, a than chwe mis wedi dychwelyd o absenoldeb mamolaeth, fel mae'r elusen Maternity Action yn galw amdano.

Byddwn hefyd yn mynd i'r afael â chamwahaniaethu yn erbyn beichiogrwydd a mamolaeth yn y gweithle trwy gefnogi'r alwad i ddeddfu i ychwanegu adrodd am gyfraddau cadw menywod sy'n dychwelyd o absenoldeb mamolaeth at y drefn bresennol o'r adrodd am y 'bwlch tâl rhwng y rhywiau'.

Gyda chymaint o newidiadau i fywydau rhieni newydd, bydd Plaid Cymru yn gweithio i gefnogi iechyd meddwl rhieni yn ystod cyfnod a all fod yn llawn llawenydd ond eto yn llawn heriau trwy ymestyn mynediad at wasanaethau iechyd meddwl i famau newydd, gan gynnwys mynediad at unedau arbenigol mamau a babanod yng Nghymru.

Byddwn yn mynd i'r afael ag unigrwydd ac ynysu rhieni newydd trwy sefydlu Rhwydweithiau rheini lleol, wedi'u hysbrydoli gan fenter lwyddiannus *Mamma Gruppen* yn Sweden.

Mae Plaid Cymru yn cefnogi'r alwad am ymestyn tâl ac absenoldeb mamolaeth a thadolaeth yn achos babanod a enir yn gynamserol (cyn 36 wythnos o'u cario).

Dylai deddfwriaeth ddiweddar San Steffan i ddarparu angladdau am ddim i fabanod gael ei ymestyn i gynnwys y sawl a gollwyd yn gynnar mewn beichiogrwydd.

## Awtistiaeth

Cred Plaid Cymru y dylid ystyried niwro-amrywiaeth fel mater cydraddoldeb, gyda gofyn ar wasanaethau cyhoeddus i wneud addasiadau rhesymol wrth gyflwyno gwasanaethau. O'r herwydd, byddwn yn gwneud niwro-amrywiaeth yn nodwedd warchodedig dan Ddeddf Cydraddoldeb.

Bydd Plaid Cymru yn pasio Deddf Awtistiaeth i Gymru fydd yn mabwysiadu agwedd seiliedig ar hawliau ar gyfer pobl ag awtistiaeth, neu yr amheuir y mae ganddynt awtistiaeth ond sydd heb dderbyn diagnosis.

# DIWYGIO SAN STEFFAN

Dangosodd argyfwng Brexit fod San Steffan yn doredig, a phobl Cymru sy'n talu'r pris. Ein Senedd Genedlaethol ni sy'n ein gwasanaethu orau - Senedd sy'n fwy cynhwysol a chynrychioliadol na San Steffan.

**Plaid Cymru oedd y blaid oedd yn gweithio galetaf yn San Steffan. Yn y senedd ddiwethaf, gofynnodd ASau Plaid Cymru fwy o gwestiynau seneddol a gwneud mwy o arweithiau na'r ASau Llafur, Toriaid a Dem Rhyddion oedd yn cynrychioli etholaethau yng Nghymru.**

Ond mae gennym ddyletswydd hefyd i bobl Cymru i warchod eu buddiannau yn y sefydliadau sy'n bod ar hyn o bryd. Dyna pam ein bod wedi arwain y ffordd mewn ymdrechion i warchod democratiaeth gynrychioliadol yn erbyn ymgais Boris Johnson i gau'r senedd yn annemocrataidd a gweithiodd yn agos gyda phleidiau eraill i atal Brexit heb gytundeb.

Mae Plaid Cymru wedi ymrwymo i ailwampio system bleidleisio San Steffan, cael gwared â'r Cyntaf i'r Felin  a'i throi yn senedd a etholir dan y system gyfrannol Pleidlais Sengl Drosglwyddadwy, lle mae pob pleidlais yn cyfrif yr un fath.

Mae Plaid Cymru yn cefnogi diwygio Tŷ'r Arglwyddi fel y daw'n siambr uwch a etholir yn uniongyrchol i gynrychioli rhanbarthau Lloegr, a chyhyd ag y byddant yn aros yn rhan o wladwriaeth y DG, Cymru, yr Alban a Gogledd Iwerddon.

Byddwn yn arwain ymdrechion i ymestyn yr hawl i bleidleisio i bobl un ar bymtheg a dwy ar bymtheg yn etholiadau San Steffan, a byddwn yn ymgyrchu i roi i ddinasyddion yr UE a phawb sydd yn drigolion parhaol yr hawl i bleidleisio ym mhob etholiad.



# Diwygio San Steffan

Mae beiau San Steffan yn sylfaenol. Mae pensaernïaeth wrthwynebus y siambr yn annog gelyniaeth a diffyg ymddiriedaeth rhwng pleidiau gwleidyddol.

**Roedd Plaid Cymru ar flaen y frwydr gyfreithiol yn erbyn gweithred anghyfreithlon Boris Johnson i atal y Senedd, gyda Hywel Williams, Liz Saville Roberts, Jonathan Edwards a Ben Lake oll yn llofnodi'r achos yn Llys Sesiwn yr Alban. Byddwn yn parhau i weithio ar draws y pleidiau i amddiffyn democratiaeth bob cyfle a gawn.**

Byddwn yn canslo cynlluniau i dalu £5bn am adfer ac adnewyddu Palas San Steffan. Yn lle ail-greu senedd na welodd fawr ddim diwygio ers y bedwaredd ganrif ar bymtheg, byddwn yn ymgyrchu i symud y Senedd allan o Lundain, er mwyn codi siambr sy'n annog dadlau gwâr ac sydd â digon o seddi i'r 650 AS. Byddwn hefyd yn cefnogi dileu'r drefn bleidleisio hynafol ac aneffeithiol yn San Steffan lle mae ASau yn cerdded trwy lobïau am oriau. Yn hytrach, byddwn yn cefnogi pleidleisio electronig, gan roi amser i ASau gynrychioli eu hetholwyr.

Ar hyn o bryd, mae gan bron i un o bob pump AS waith taledig rheolaidd y tu allan i'r senedd. Byddwn yn arwain ymdrechion i gryfhau cod ymddygiad yr ASau, i gynnwys terfyn uchaf o enillion ychwanegol wedi'u gosod ar ddim mwy na hanner eu cyflog rheolaidd.

Ar hyn o bryd, mae 17 Aelod Cynulliad a saith AS Cymreig sy'n cyflogi aelodau o'u teuluoedd eu hunain ar draul y cyhoeddus. Boed yn y Senedd, San Steffan neu Frwsel, ni fydd gwleidyddion Plaid Cymru yn cyflogi aelodau o'u teuluoedd.

**Fel aelodau o'r Pwyllgor Materion Cymreig dros y ddwy flynedd ddiwethaf, mae Ben Lake a Jonathan Edwards o'r Blaid wedi craffu ar Lywodraeth Prydain ar faterion megis y bwriad y gau gwaith Ford ym Mhen-y-bont, Bargeinion Dinesig a Bargeinion Twf yng Nghymru, Cymru a'r Lluoedd Arfog, datganoli Treth Teithwyr Awyr i Gymru, ac effaith Brexit ar Gymru.**



# Diwygio San Steffan

Byddwn yn rhoi buddiannau pobl Cymru uwchlaw gwahaniaethau pleidiol gan beidio ag annog iaith sydd yn annog casineb neu ddiffyg parch. Yr ydym yn ymrwymo i lefel o barch a phroffesiynoldeb rhwng cydweithwyr yn San Steffan.

## Cenedligrwydd ar Ffurflenni Etholiadol

Ar hyn o bryd, mae dogfennau cofrestr etholwyr swyddogol yn ein gorfodi i nodi hunaniaeth fel Prydeinig, nid Cymreig. Mae hyn yn sarhad ar y 58% o bobl yng Nghymru sy'n dweud mai Cymry yn unig ydynt, nid Prydeinwyr. Byddwn yn cyflwyno Mesur yn y Senedd i newid y gyfraith etholiadol fel y cydnabyddir pob hunaniaeth genedlaethol- Cymreig, Prydeinig, Albanaidd, Seisnig a Gwyddelig - fel dewisiadau swyddogol.

Byddwn yn rhoi cyfle i bobl nodi hunaniaeth Gymreig ar eu pasbort, yn ogystal â'r cyfle i gael baner Cymru, baner Prydain, neu ddim un, ar drwyddedau gyrru.

## Yr Iaith Gymraeg yn San Steffan

Chwe blynedd ar hugain wedi Deddf yr Iaith Gymraeg, mae siaradwyr Cymraeg o hyd dan anfantais yn San Steffan. Mae gan siaradwyr Cymraeg hawl i ohebu â phob Gweinidog a chyrchu'r holl wasanaethau llywodraethu a seneddol trwy gyfrwng y Gymraeg.

Dylai ASau fod â'r hawl i siarad Cymraeg yn siambr Tŷ'r Cyffredin fel y gall eu holl etholwyr deimlo eu bod yn cael eu cynrychioli.

# HEDDWCH A DIOGELWCH

Mae Plaid Cymru eisiau gweld Cymru yn rhan o gymuned fyd-eang lle byddwn yn gweithio gyda'n gilydd i gadw ein gilydd yn ddiogel.

Mae'r Toriaid a Llafur eisiau gwario biliynau o bunnoedd ar adnewyddu system arfau niwclear aneffeithiol a diangen. Mae Plaid Cymru yn benderfynol o atal adnewyddu arfau dinistr eang a dileu Trident. Byddwn yn gwrthwynebu pob ymgais i adleoli arfau niwclear yng Nghymru nac yn nyfroedd Cymru.

Yn hytrach, byddwn yn lleoli ein catrodau gartref yng Nghymru gyda llu amddiffyn sy'n derbyn cyllid a gofal priodol. Byddwn hefyd yn gweithio gyda llywodraeth y DG ac asiantaethau eraill ar amddiffynfeydd seibr i atal ymosodiadau technoleg ar Gymru a gweddill y Deyrnas Gyfunol.

Cred Plaid Cymru, ac eithrio am gytundebau rhyngwladol sy'n rhwymo, y dylai'r penderfyniad i fynd i ryfel fynnu cefnogaeth y pedair cenedl ac yr ydym yn mynnu cynnal pleidlais yn y Senedd cyn unrhyw ymyrraeth filwrol a gefnogir gan y DG mewn materion tramor. Mae gan bobl Cymru hawl ddemocrataidd i gefnogi neu wrthwynebu ymyriadau o'r fath.

Bydd Plaid Cymru yn cymryd y cyfrifoldeb dros gyn-aelodau Cymreig o'r lluoedd arfog. Mae un llywodraeth ar ôl y llall wedi anghofio cyn-filwyr, a chyda chynifer yn parhau i ddioddef problemau iechyd corfforol a meddyliol heb fawr o allu i gyrraedd y gwasanaethau maent eu hangen. Byddwn yn gwneud yn siwr fod cyn-filwyr yn derbyn gofal iechyd rhagorol, gan gynnwys gofal iechyd meddwl, a thai digonol.

# CYMRU A'R BYD

Mewn llywodraeth, bydd Plaid Cymru yn datblygu polisi rhyngwladol i Gymru sydd yn adfer ein sefyllfa fel cenedl fasnachu o bwys. Byddwn yn cyflwyno Cymru Rhyngwladol, fydd yn gyfrifol am ddenu busnesau, doniau a diwydiant newydd o bob cwr o'r byd, ond hefyd am roi Cymru ar fap y byd i'n hallforion.

Byddwn hefyd yn sefydlu, fel yn Iwerddon, Asiantaeth Fenter Genedlaethol, fydd yn gyfrifol am ddatblygu yng Nghymru. Un o gyfrifoldebau allweddol y corff hwn fydd sicrhau buddsoddiad cyfartal a chynaliadwy ar hyd a lled.

**Mae Ben Lake o'r Blaid wedi creu cysylltiadau gyda'r Gymdeithas Gonsylaidd yng Nghymru i bwysleisio pwysigrwydd cynrychiolaeth ddiplomataidd. Cododd y mater trwy ddadl yn Neuadd San Steffan ym Mehefin 2019.**

Bydd Plaid Cymru yn parhau i gefnogi dirprwyaethau masnach strategol ar draws y byd i feithrin ymwybyddiaeth o Gymru mewn tiriogaethau newydd a manteisio ar gyfleoedd newydd a grëir gan hyn i greu swyddi. Byddwn yn cyhoeddi cyfres o egwyddorion trafod masnach, gan gynnwys rhai ar gyfer safonau llafur ac amgylcheddol, ac amddiffyn hawliau lleiafrifoedd diwylliannol ac ieithyddol.



# Cymru A'r Byd

Byddwn yn annog gwledydd eraill i sefydlu cynrychiolaeth ddiplomataidd yng Nghymru, gan gymryd ein hysbrydoliaeth o wledydd megis Catalonia a Québec, y mae eu prifddinasoedd yn gartrefi i ddwsinau o Gonsyliaethau Cyffredinol a Chonsyliaethau, ac sydd wedi dod i'r amlwg fel canolfannau rhyngwladol ffyniannus.

**Pan oedd yn gadeirydd y Grŵp Seneddol Trawsbleidiol ar Gatalonia, Hywel Williams o Arfon oedd y prif lais yn San Steffan yn erbyn gorthrwm gwladwriaeth Sbaen yng Nghatalonia. Arweiniodd cwestiwn brys Hywel yn Hydref 2019 at gefnogaeth drawsbleidiol i amddiffyn rhyddid a hawliau sifig yng Nghatalonia, gan ddenu sylw yn y wasg ryngwladol.**

Byddwn yn sefydlu perthynas ffurfiol rhwng Llywodraeth Cymru a'r Gymdeithas Gonsylaidd yng Nghymru fel man cychwyn i ddatblygu strategaeth i annog mwy o gynrychiolaeth ddiplomyddol yng Nghymru, gan ddwyn ynghyd fusnesau allweddol gyda'r un nod o gyfoethogi economi Cymru.

Byddwn yn galw am aelodaeth gysylltiol i Gymru o UNESCO, y Sefydliad Bwyd ac Amaethyddiaeth, a'r Sefydliad Morol Rhyngwladol.

## Twristiaeth

Mae Plaid Cymru yn cydnabod pwysigrwydd y diwydiant twristiaeth ledled Cymru fel cyflogwr, ac fel ffordd o ddenu buddsoddiad i'r wlad. Rydym eisiau hybu Cymru fel cyrchfan twristiaeth cynaliadwy, o safon uchel gyda gweithgareddau a phrofiadau seiliedig ar ein hadnoddau naturiol, ein cynnyrch, ein harfordir a'n tirwedd unigryw, a'n hiaith, diwylliant a'n treftadaeth.

Byddwn yn cynyddu'r arian ar gael i hybu twristiaeth fel y gall Cymru gymryd ei lle ymysg cyrchfannau gorau'r byd.

Ar hyn o bryd, mae'r diwydiant twristiaeth yn cael ei ddal yn ôl gan drethi annheg a Llywodraeth sydd yn methu â hybu Cymru fel cyrchfan dwristiaeth i'r byd. Mae Plaid Cymru eisiau gweld TAW twristiaeth ar groesawu wedi ei dorri i 9% i roi Cymru ar y blaen yn y farchnad dwristiaeth ryngwladol.



# Cymru A’r Byd

Byddwn yn sefydlu Academi genedlaethol i’r sector twristiaeth Gymreig i ddarparu dysgu ymarferol o brentisiaethau i lefel gradd, fydd yn cynnig datblygiad galwedigaethol a phroffesiynol o’r radd flaenaf i weithwyr ar draws y sector. Byddwn hefyd o blaid aelodaeth gysylltiol o Sefydliad Twristiaeth Byd y CU.

Byddwn yn gwella profiad ymwelwyr trwy sicrhau’r canlynol:

- Fod gwasanaethau a gwybodaeth unedig ar gael fel y gall ymwelwyr aros yn agos at ddigwyddiadau.
- Fod gan westai’r wybodaeth ddiweddaraf am dwristiaeth.
- Fod cludiant cyhoeddus ar gael pan fydd ei angen.
- Fod gwestai yn darparu gwasanaeth o’r ansawdd uchaf, gan gynnwys defnyddio ieithoedd tramor.

Byddwn yn cefnogi datblygu safleoedd gwersylla bwrdeistrefol sy’n cael eu rhedeg yn lleol yn ein trefi a’n dinasoedd.

Byddwn yn lansio blwyddyn Dathlu Cymru i hybu twristiaeth ledled y wlad.